# CASGLIAD

O

# SALMAU A HYMNAU,

ADDAS I

## ADDOLIAD CYHOEDDUS,

YNGHYD A LLAWER O RAI NEWYDDION.

—o—

GAN Y PARCH. R. PHILLIPS,

FICAR BETTWS, ABERGELE.

—o—

"Canaf â'r Ysbryd, a chanaf â'r deall hefyd."—PAUL.

---

CAERLLEON:

CYHOEDDWYD, AC AR WERTH GAN SEACOME A PRICHARD;

A HAMILTON ADAMS AND CO., LLUNDAIN.

1843.

TO THE RIGHT REVEREND

WILLIAM,

LORD BISHOP OF ST. ASAPH,

THIS SELECTION

OF

PSALMS AND HYMNS

IS, WITH HIS LORDSHIP'S KIND PERMISSION,

RESPECTFULLY AND GRATEFULLY

INSCRIBED,

BY HIS OBEDIENT AND OBLIGED

HUMBLE SERVANT

THE COMPILER.

# CYNNWYSIAD Y SALMAU A'R HYMNAU.

*** Yn y Rhestr ganlynol dealled y darllenydd fod y llythyren S yn cyfeirio at y *Salmau*, a'r llythyren H at yr *Hymnau*.

# MYNEGAI I'R SALMAU.

---

## MYNEGAI I'R HYMNAU.

Tu dalen



Tu dalen

# SALMAU.

---

## SALM I. M. C. C.

### CYFANSODDIAD I.

1 Y SAWL ni rodia, dedwydd yw,
Yn ol drwg ystryw gynghor;
Ni saif ar ffordd troseddwyr ffôl,
Nid eiste 'n 'stôl y gwatwor.

2 Ond ei holl serch ef fydd yn rhwydd
Ar ddeddf yr Arglwydd uchod;
Ac ar ei ddeddf rhydd ddydd a nôs,
Yn ddi-os ei fyfyrdod.

3 Fe fydd fel pren plan ar lan dôl,
Dwg ffrwyth amserol arno;
Ni chrina'i ddalen, a'i holl waith
A lwydda 'n berffaith iddo.

4 Nid felly bydd y drwg di-rus,
Ond fel yr ûs ar gorwynt;
Yr hwn o'r tir a'i chwyth a'i chwâl,
Anwadal fydd ei helynt.

### SALM 1. CYF. 2. M. H.

1 GWYN fyd y gwr ni rodia hyd
Ffordd lydan annuwiolion byd;
Ni châr gyfeillach gwŷr di-râs,
Ni sieryd fel gwatwarwyr câs.

2 Ond ei ddifyrwch pènaf fydd
Yn nghyfraith Duw ar hyd y dydd;
Yn oriau 'r nôs yn effro cair
Yn hoff fyfyrio yn ei air.

3 Bydd ef fel pren wrth ddyfroedd byw,
Yn lâs ei ddail yn eglwys Dduw;
A bendith hylwydd fry o'r nef,
Fydd ar holl waith ei ddwylaw ef.

4 Ond pechaduriaid drwg eu hynt,
Fel ûs a chwelir gan y gwynt;
Eu gobaith ffôl, a'u hyder ffy,
Pan seinio'r udgorn oddi fry.

### SALM 2. M. C.

1 BRENHINOEDD daear, barnwyr byd,
Mewn synwyr cyd-nesêwch;
I foli 'r Duwdod yn y dyn,
Mewn ofn a dychryn dewch.

2 Cusenwch Ef rhag ofn ei ddig,
Mae heddyw 'n cynnyg hedd;
A gredant ynddo, gwyn eu byd,
Mewn bywyd cyn y bedd.

### SALM 3. M. C. C.

1 AR Dduw y nefoedd, â'm holl lais,
Y gelwais yn dosturaidd;
Ac Ef a'm clybu i ar frys
O'i uchel freinllys sanctaidd.

2 Mewn hedd gorweddais, cysgais i,
A mi a godais gwedi;
Canys yr Arglwydd oedd i'm dal,
I'm cynnal, ac i'm codi.

3 I'r Arglwydd Dduw, ac nid i ddyn,
Y perthyn iachawdwriaeth;
Ac ar ei bobloedd disgyn gwlith;
Ei fendith rád yn helaeth.

### SALM 4. M. C. C.

1 TYDI ein Porth ar dir y byw,
Yn rasol clyw pan lefom;
Tydi a'n cedwi ni rhag drwg,
Attolwg, gwrando arnom.

2 Tra gofyn llawer yn ein clyw,
'Pwy ddengys ryw ddaioni?'
Tywyned Duw ei wyneb-pryd,
Daw gwynfyd ddigon ini.

3 Daw ini wir lawenydd mwy,
A hyny drwy dy fendith,
Na fedd y rhai ag sydd yn trin
Eu cnwd o win a gwenith.

4 Dy lwybrau di ŷnt hyfryd iawn,
Dy ffyrdd ŷnt lawn dedwyddwch;
Nag ŷd neu win o'r goreu ryw,
Melusach yw dy heddwch.

### SALM 4. CYF. 2. M. C.

1 DY eiddo wyf, O Arglwydd Dduw,
O clyw fy ngweddi brudd,

Dysg imi ofni pechu 'n gâs,
  A cheisio 'th râs bob dydd.

2 Dangos di ddaioni, O Dduw,
  A dyrcha 'n wiw dy wedd;
Llawenydd gwell na gwin ac ŷd,
  Mwynhau dy hyfryd hedd.

3 A thra bwyf yn fy nirgel gell,
  Yn mhell o swn y byd;
A'm calon, Arglwydd, ac â thi,
  'R wy 'n ymddiddanu o hyd.

4 Talaf i Ti fy aberth hwyr,
  A phan orphenwy 'r gwaith,
Rhoi 'ngobaith ar dy râs yr wyf,
  Tra fyddwyf ar fy nhaith.

5 Fel hyn yn heddwch Duw, fy mhlaid,
  Y rhof im' llygaid hûn;
A'r hyn a'm gwylia nôs a dydd,
  Fydd llaw fy Arglwydd cûn.

## SALM 5. M. C. C.

1 CLYW 'ngweddi, Arglwydd, yn ddiball,
  Duw, deall fy myfyrdod;
Erglyw fy llais a'm gweddi flin,
  Fy Nuw, a'm Brenin hynod.

2 Dof finnau tu a'th dŷ mewn hedd,
  Am dy drugaredd galwaf;
Trwy ofn, a pharch, a goglud dwys,
  I'th sanctaidd eglwys treiglaf.

3 Can's Ti anfoni, Arglwydd, wlith
  Dy fendith ar y cyfion;
A'th gywir serch, fel tarian gref,
  Rhoi drosto ef yn goron.

## SALM 5. RHAN II. M. C.

1 YN foreu, Arglwydd, attat Ti
Dyrchafaf fi fy llef;
Fy ngweddi daer hyd attat ddaw
Yn union draw i'r nef.

2 Lle 'r aeth yr Iesu hael ei hun,
I erfyn dros ei saint;
Ger bron y Tad mae Ef yn dwyn
Ein cwyn, er mawr ei faint.

3 Gan hyny, deuaf i dy dŷ
Yn hy' i brofi 'th hedd:
Addolaf yn dy sanctaidd lŷs
Yn barchus yn dy wedd.

4 O tywys fi â'th Ysbryd pur
Yn nghywir lwybrau ffydd;
Gwna ffordd dyledswydd ger fy mron,
I'm rodio hon yn rhydd.

## SALM 8. M. C. C.

1 O ARGLWYDD Nêr ein Ior a'n nerth,
Mor brydferth wyt trwy 'r holl-fyd!
Dy enw a'th barch a roi'st uwch ben
Daear ac wybren hefyd.

2 Wrth edrych ar y nefoedd faith,
A gweled gwaith dy fysedd,
Y lloer, y sêr, a threfn y rhôd,
A'u gosod mor gyfannedd.

3 Pa beth yw dyn it' i'w goffau,
O ddoniau ac anwyl-fraint?
A pheth yw mab dyn yr un wedd,
Lle rhoi amgeledd cymmaint?

4 Ti wnaethost ddyn o fraint a phris,
Ychydig is angylion:

Mewn mawr ogoniant, parch, a nerth,
Rhoist arno brydferth goron.

## SALM 9. M. C. C.

1 CLODFORAF fi fy Arglwydd Iôn,
O'm calon ac yn hollol;
Ei ryfeddodau rhof ar lêd,
Fy nyled yw ei ganmol.

2 Mi fyddaf lawen yn dy glod,
Ac ynod gorfoleddaf;
I'th enw, O Dduw, y canaf glod,
Wyt hynod, y Goruchaf.

3 A phawb a'th edwyn rhônt eu crêd,
A'u holl ymddiried arnat;
Can's ni adewaist, Arglwydd, neb,
A droes ei wyneb attat.

## SALM 15. M. H.

1 DUW, pwy a ddring i'th nefoedd fry,
I fyw ger bron dy wyneb cu?
Y dyn sy'n awr yn Nghrist yn byw,
Gan rodio'n isel gyda Duw.

2 Un glân ei law, cydwybod glir,
Ni thraetha 'i wefus ond y gwir;
Ar dafod hwn ni thrig drwg air,
A gwneuthur cam â neb ni's cair.

3 Saif hwn yn ddilys wrth ei air,
A ffyddlon i'w addewid cair;
Gan wneud yn wastad i bob dyn,
'R hyn a ddymunai iddo 'i hun.

4 Pan wnêl ei holl weithredoedd da,
Ar râs yn unig pwysô wna:

Hwn yw y dyn gaiff weled Duw,
A chyd ag Ef dragwyddol fyw.

## SALM 17. M. C. C.

1 O CLYW fy nghwynfan, Arglwydd mwyn,
Ystyria gwyn fy ochain;
Gogwydda 'th glust i'm gweddi i,
Sydd arnat ti yn llefain.

2 O fewn dy union lwybrau di,
O cynnal fi yn wastad;
Rhag llithro allan o'r ffordd dda
Duw, gwylia fy ngherddediad.

3 Galw 'r wyf arnat am dy fod
Yn Dduw parod i wrando;
Gostwng dy glust, a chlyw yn rhodd
Fy holl ymadrodd etto.

4 Cadw fi 'n anwyl rhag pob twyll,
Fel anwyl ganwyll llygad;
Ynghysgod dy adenydd di,
O cadw fi yn wastad.

## SALM 17. RHAN II. M. H.

1 Y BYWYD hwn sydd freuddwyd brau,
I fyd o sylwedd 'r wy'n nesâu;
Lle mae llawenydd llawn yn wir,
Caf ei fwynhau fy hun cyn hir.

2 O ddedwydd awr! O drigfan wiw!
Caf fod gerllaw, ac fel fy Nuw:
Caf wel'd ei wyneb Ef yn llon,
Mewn pur gyfiawnder ger ei fron.

3 Fy nghnawd a gwsg yn llwch y llawr,
Nes clywed sain yr udgorn mawr;
Ac yna tyr ef rwymau 'r bedd,
A chwyd ar ddelw Crist mewn hedd.

## SALM 19. M. C. C

1 MAE uwch ein pen ffurfafen faith,
A gloywlas waith wybrenol:
Mae disglaer gylch y nefol gaer,
Yn datgan saer anfeidrol.

2 Mae 'r haul o ddydd i ddydd yn sôn
Am nerth yr Ion yn llafar;
A dengys hollalluog waith
I wledydd maith y ddaear.

3 Y nôs mae 'r lloer heb gwsg na hûn
Yn traethu 'r un ryfeddod:
Mynegi mae i'r byd bob awr,
Ddechreuad mawr ei hanfod.

4 O'u cylch holl sêr yr wybrawl fro,
Ac yn eu tro 'r planedau,
Sy 'n taenu 'r hanes wir o hyd,
O'r gogledd fyd i'r dehau.

5 Beth! er eu bod â distaw dro
Yn cylchu 'r fro ddaearol?
Beth! er na chlywn na gair nac iaith
O'u rhodau maith disgleiriol?

6 Rheswm, er hyn, a glyw eu llef,
O entrych nef yn unfodd:
Yn canu byth â dilyth dôn,
"Deheulaw 'r Iôn a'n creodd."

SALM 19. RHAN II. M. B. C.

1 YR Haul cyfodi wna,
Fel cawr i'w yrfa heini;
A'i lewyrch disglaer trwy 'r holl fyd,
Rhydd fywyd a goleuni.

2 Ond gair yr Iôn a'i ddawn,
Sy 'n troi i'r iawn yr enaid:
Tystiolaeth yr efengyl sydd
Yn fywyd i'r ffyddloniaid.

3 Mae deddfau 'r Iôn yn glau,
Yn llawenhau y galon;
A'i lân orch'mynion Ef yn wir,
Rydd oleu i'r golygon.

SALM 19. RHAN III. M. B. C.

1 GLAN ydyw ofn yr Ion,
Dros fyth yn gyfion erys:
A'i farnau ynt yn gywir iawn,
Gwirionedd cyflawn ddilys.

2 Ni ddyry mêl i ddyn,
Na dim yr un felusder;
Nac aur a goethwyd lawer gwaith,
I'r golwg chwaith fath hoffder.

3 Rhybuddiant hwy dy wâs,
I fyw yn addas beunydd;
I'r sawl a'u dyfal gadwant hwy,
Mae helaeth wobrwy hylwydd.

SALM 19. RHAN IV. M. N. 8. 7.

1 PWY a ddeall ei gamweddau?
Pwy fynega 'r rhai'n i gyd?
Myrdd o honynt ynt guddiedig,
Heblaw miloedd wêl y byd:

Duw, glanha fi 'n llwyr oddiwrthynt,
   Adnewydda fi â'th râs;
Dyro rym i fwrw ymaith
   Bob rhyfygus bechod câs.

2 Pob ymadrodd ddel o'm genau,
   Pob myfyrdod dan fy mron,
Fyddo mwy yn gymmeradwy,
   Arglwydd grasol, ger dy fron:
Ti yw craig fy iachawdwriaeth,
   Dal fi fynu tra b'wyf byw;
Ti yw Prynwr drud fy enaid,
   Dwg fi 'r nefoedd, O fy Nuw.

SALM 23. M. C. C.

1 YR Arglwydd yw fy Mugail clau,
   Ni âd byth eisiau arnaf;
Caf orwedd byth mewn porfa frâs,
   Ar lan dwfr gloywlas araf.

2 Fe goledd f'enaid ac a'm dwg
   'R hyd llwybrau diddrwg cyfion;
Er mwyn ei enw mawr di-lŷs,
   Fe 'm tywys ar yr union.

3 Pe rhodiwn i, nid ofnwn hyn,
   Yn nyffryn cysgod angau:
Wyt gyda mi â'th nerth a'th ffon,
   Ond tirion ydyw 'r arfau.

4 O'th nawdd y daw y doniau hyn
   I'm canlyn byth yn hylwydd:
A minnau a breswyliaf byth,
   A'm nyth yn nhŷ yr Arglwydd.

SALM. 23. CYF. II. M. B.

1 NI welaf eisiau grâs,
   Fy Mugail ydyw Duw;

Caf orwedd byth mewn porfa frâs
  Ar lân dwfr tawel gwiw.

2 Fe'm dychwel o'r ffordd gau
  Er mwyn ei enw Ef;
Gwna imi rodio heb lesghau
  Yn uniawn lwybrau 'r nef.

3 Trwy Dduw, fy Mugail da,
  Nid ofnaf angau glâs;
A'i nerth a'i ffon fe'm llawenhâ,
  Sef tirion arfau grâs.

4 Hedd a daioni Duw
  Ddilyna f'enaid byth;
Am hyny gwnaf tra fyddwyf byw
  O fewn ei dŷ fy nyth.

SALM 23. CYF. III. M. N. 8. 7.

1 DUW sydd imi 'n Fugail hynod,
  Ni chaf wybod eisiau dim;
Wele 'i gariad a'i ddoethineb
  Er buddioldeb hyfryd im':
Yn mhorfeydd ei ordinhadau,
  Ac wrth ffrydiau dyfroedd byw,
Yn hyfrydlon pâr i'm orwedd,
  Mewn tangnefedd gyda 'm Duw.

2 Fe a'm harwain yn ei lwybrau,
  O'm crwydriadau Fe a'm dwg,
Yn ei ffyrdd, er mwyn ei enw,
  Fe a'm ceidw rhag pob drwg;
A phe rhodiwn ar hyd waelod
  Glyn dan gysgod angau du;
Nid oes achos imi ofni,
  Caf oleuni oddi fry.

3 Credu 'r wyf na phall i'm brofi
'R un daioni gan fy Nuw,
Na'i drugaredd i'm cysuro,
Tra bwy'n rhodio tir y byw:
Cyn bo hir 'r wyf yn gobeithio
Caf breswylio llys y nef,
A chyd-dreulio tragwyddoldeb
Mewn cymmundeb gyd ag Ef.

## SALM 24. M. C.

1 DYRCHEFWCH oll eich pènau fry,
Chwi ddrysau 'r nef ar frys;
Gwir Frenin y gogoniant sy
Yn d'od yn ol i'w lys.

2 Pwy yw y Brenin mawr ei fri?
Yr unig Arglwydd byw;
Yr Arglwydd nerthol, cadarn Ri,
Mewn rhyfel cadarn yw.

3 Dyrchefwch oll eich penau fry,
Chwi byrth y nef ar frys,
Gwir Frenin y gogoniant sy
Yn d'od yn ol i'w lys.

4 Pwy yw y Brenin mawr ei glod?
Jehofa 'r lluoedd yw;
Yn Frenin byth mae 'n haeddu bod,
Am wared dynolryw.

## SALM 25. M. C. C.

1 DANGOS im', Arglwydd, dy ffordd di,
A phâr i mi ei deall:
Dysg ac arwain fi yr un wedd
Yn dy wirionedd diball.

2 I'r sawl a gadwo ddeddfau 'r Iôn,
A'i union dystiolaethau;
Gwirionedd a thrugaredd fydd
Ei lywydd yn ei lwybrau.

3 Er mwyn dy enw, Arglwydd mau,
O maddau fy anwiredd:
Can's er mor fawr fy mhechod yw,
Mwy ydyw dy drugaredd.

## SALM 26. M. N. 148.

1 DYMUNWN imi 'n rhan, cael trigfan yn dy dŷ,
Lle mae danteithion pêr, o frasder Canaan fry;
Preswylfa Duw sy 'n hardd ei drych,
Lle gwelir gwych ogoniant gwiw.

2 Doed holl genhedloedd byd, i'th gorlan glyd yn glau
Ac Israel etto 'n ol, yn siriol fo 'n nesâu,
I blith dy saint o fewn i'th lys,
A hyn ar frys, i'w hynaf fraint.

## SALM 27. M. C. C.

1 YR Arglwydd yw fy ngoleu i gyd,
A'm hiechyd, rhag pwy'r ofnaf!
A nerth fy mywyd yw, am hyn
Rhag pwy doi dychryn arnaf?

2 Fel hyn mae 'nghalon o'm mewn i
Yn holi ac yn atteb:
"Ceisiwch fy wyneb ar bob tro,"
Fy Nuw, 'r wy'n ceisio 'th wyneb.

3 Duw, dysg i mi dy ffordd yn rhwydd,
O herwydd fy ngelynion;
Ac arwain fi, o'th nawddol râd,
Yn wastad ar yr union.

4 Disgwylia wrth yr Arglwydd da,
Ac ymgysura ynddo;
Efe a nertha 'th galon di,
Am hyny disgwyl wrtho.

SALM 27. RHAN II. M. N. 148.

1 UN peth ddeisyfais i, 'rwyf yn ei chyfri 'n fraint,
Preswylio yn dy dŷ, gwersyllu gyda 'th saint;
A 'mofyn gwedd dy wyneb pryd,
Tra bwy 'n byd, a'th hyfryd hedd.

2 Mae llewyrchiadau llon, dy dirion wyneb di,
Yn torri 'n wiwlwys wawr, er cysur mawr i mi:
Nas gŵyr dy gâs trwy brofiad ddim,
Ond rhai â grym egwyddor grâs.

3 Os tad a mam ynghyd, a'm gwrthyd tra bwyf byw,
Mi gaf yn rhwydd er hyn, fy nerbyn gan fy Nuw;
Efe yw rhan fy enaid byw,
A'i wyrthiau gwiw rydd nerth i'r gwan.

SALM 28. M. N. 148.

1 HYD attat, Arglwydd nef, dyrchafaf lef i'r lan;
Attolwg gwrando 'n fwyn, ar gwyn fy enaid gwan,
Fy nghraig, na thaw tra bwy 'n y byd,
Rho air mewn pryd, rhag digwydd braw.

2 Bendigaid fyddo Duw, fe glyw fy ngweddi 'n glau,
Mae 'n darian im' a nerth, mor brydferth yn parhau;
Ei gymmorth caf mewn adfyd tyn,
O herwydd hyn y llawenhaf.

SALM 29. M. C. C.

1 I'R Arglwydd rhowch, a rhowch yn chwyrn,
Chwi feibion cedyrn foliant;
A chydnabyddwch ei fawr nerth,
Mor brydferth ei ogoniant.

2 I enw 'r Arglwydd rhowch y glod,
Heb orfod mwy eich cymmell;
Addolwch Arglwydd yr holl fyd;
Mor hyfryd yw ei babell!

3 Yr Arglwydd gynt yn benaeth oedd
Ar y llifddyfroedd gerwin;
Yr Arglwydd fu, Ef etto sydd,
A byth a fydd yn Frenin.

## SALM 30. M. C. C.

1 CENWCH i'r Ion, ei holl saint Ef,
A llawen lef clodforwch;
Wrth goffa ei sancteiddrwydd pur,
A chalon gywir cenwch.

2 Ni phery ei lid ond ennyd fer,
Mae 'n ei foddlonder fywyd;
Dros fyr brydnawn wylofain sydd,
Y boreu ddydd daw iechyd.

3 Dy wyneb guddiaist ennyd awr,
A blinder mawr a gefais:
O Arglwydd, arnat ti rhois lef,
Ar Arglwydd nef ymbiliais.

## SALM 32. M. C. C.

1 Y SAWL sy deilwng, gwyn ei fyd,
Drwy faddeu i gyd ei drosedd;
A chuddiwyd fyth ei wrthun fai,
Ei bechod a'i anwiredd.

2 Gwyn fyd y dyn na chyfrif Duw,
Ei amryw feiau iddo;
A'r hwn newidwyd oll er gwell,
Fel nad oes dichell ynddo.

3 Cyfaddef 'r ym o'th flaen yn awr,
  O Dduw, ein mawr gamweddau;
Tosturia wrthym, nefol Dad,
  A maddeu 'n rhad ein beiau.

4 Yn lloches gadarn ini bydd;
  Bob dydd bo'm dan dy aden:
Ac amgylchyna ni ar led,
  A chân ymwared lawen.

## SALM 34. M. C. C.

1 DIOLCHAF fi a chalon rwydd,
  I'r Arglwydd bob amserau;
Ei foliant Ef a'i wir fawrhâd,
  Sy'n wastad yn fy ngenau.

2 Wele y truan a roes lef,
  A Duw o'r nef yn gwrando;
Ac a'i gwaredodd o'i holl ddrwg,
  A'i waedd oedd amlwg iddo.

3 Angel ein Duw a dry yn gylch,
  O amgylch pawb a'u hofnant;
Ceidw Ef hwynt, a llawer gwell
  Na chastell yw eu gwarant.

4 O profwch, gwelwch mor dda yw
  Yr Arglwydd byw i'r eiddo:
A gwyn ei fyd pob dyn a grêd
  Roi ei ymddiried ynddo.

## SALM 34. CYF. II. M. C.

1 O DEWCH, mawrygwn Dduw i gyd,
  A chyd-ddyrchafwn lef;
Pan geisiais i ei wyneb cu,
  Gwrandawodd fry fy llef.

2 Am ei ymwared canu wnaf,
Ni thawaf sôn am hon,
Nes gwneler pawb o isel fryd
Yn hyfryd ac yn llon.

3 O profwch, gwelwch mor dda yw
Yr Arglwydd byw i'w saint;
Gwyn fyd y gwr a'i cred yn awr,
'Does neb mor fawr ei fraint.

4 O ofnwch Dduw, chwi seintiau gwan,
Eich cwynfan glyw o'r nef:
Ac nid oes eisiau dim sydd dda,
Ar neb a'i hofna Ef.

## SALM 36. M. C. C.

1 MOR werthfawr yw'th drugaredd di,
I ni, O Arglwydd, beunydd!
Am hyn y câr plant dynion fod
Dan gysgod dy adenydd.

2 A brasder da dy dŷ fwy-fwy,
Digonir hwy â heddwch;
Dïodi di eu henaid llon
Ag afon dy hyfrydwch.

3 O herwydd gyda Thi yn wir
Mae ffynnon bur y bywyd;
Y gwir oleuni welwn ni
Yn dy oleuni hyfryd.

4 O estyn etto i barhau
Dy drugareddau tirion:
Ni a'th adwaenom Di a'th ddawn,
I'r rhai sydd uniawn galon.

## SALM 37. M. C. C.

1 YN Nuw gobeithia yn y byd,
A gwna o hyd ddaioni:

Cei felly drigo yn y tir,
A chei dy wir ddigoni.

2 Os ymddigrifi yn dy Dduw,
Ti gei bob gwiw ddymuniad;
Cred iddo Ef, dy ffordd bob dydd,
A'th raid a rydd yn wastad.

3 Cred ynddo Ef, fe'th ddwg i'r lan,
Myn allan dy gyfiawnder;
Fel goleu haul ar hanner dydd
Y bydd dy bur eglurder.

## SALM 38. M. C.

1 PAR imi synied, Arglwydd Ner,
Pa amser gaf is nen;
Sef rhif fy nyddiau yn y byd,
A phryd y d'ont i ben.

2 Bèr yw fy oes fel lled fy llaw,
Yn brysio draw i'r bedd;
A gwagedd oll yw pob dyn byw,
Er gwyched yw ei wedd.

3 Llwyr ofer yw ei drafferth faith,
A dyfal waith ei law;
Fe dyrra olud fwy na mwy,
Nas gŵyr i bwy y daw.

4 Na âd im' mwyach roi fy mryd
Ar bethau byd, O Dduw;
Ac o'm pechodau gwared fi,
Tydi fy ngobaith yw.

## SALM 41. M. N. 8. 7.

1 GWYN ei fyd y sawl ystyria
Wrth y tlawd, anghenus ddyn;

Duw a'i gwrendy, ac a'i gwared,
Pan bo cystudd arno ei hun:
Ceidw ef yn dra diogel;
Mewn dirgelfa bydd yn byw:
Gwynfydedig fydd ei gyflwr
Ar y ddaear, medd ei Dduw.

2 Pan fo afiach ar ei wely,
Caiff ei nerthu gan ei Dduw:
A chyweiria ei holl wely,
Nes ei gael i fynu 'n fyw.
Bendigedig yn dragywydd,
Fyddo Llywydd nef a llawr;
Duw ac Arglwydd Israel ydyw,
Hyd i dragwyddoldeb mawr.

SALM 42. 8. 7. 4.

1 FEL y brefa 'r hydd lluddedig,
Am afonydd dyfroedd byw;
Felly hiraeth mawr fy enaid
Sydd am danat, O fy Nuw:
Gwir sychedig, &c. yw fy ysbryd am dy râs.

2 Pa'm, fy enaid, y'th ostyngir?
Pa 'm yr ymderfysgi c'yd?
Etto dod yn Nuw dy obaith
A'i foliannu gei ryw bryd;
Iachawdwriaeth, &c. ei wynebpryd fydd dy gân.

3 Etto 'r Arglwydd a orchymyn
Ei drugaredd foreu ddydd;
Ac am dani yn y cyfnos
Melus fy nghaniadau fydd:
Duw fy einioes, &c. caf ei ganmol cyn bo hir.

## SALM 45. M. H.

1 FY nghalon cân mewn ysbryd cu,
Ogoniant hardd fy Mhrynwr cry',
Sef Iesu, f' Arglwydd, Brenin nef,
Godidog yw ei degwch Ef.

2 Ar holl blant dynion dan y rhôd,
Mae 'i oruwch râs yn dwyn y clôd:
Rhed cariad o'i wefusau 'n llif,
Bendithion rhyfedd heb ddim rhif!

3 O Arglwydd, gwisg dy arfog rym,
O'th gylch gwregysa 'th gleddyf llym:
Mewn mawredd marchog, llwydd, a bri,
Nes byddo 'r byd yn eiddo Ti.

4 Dy ofn a dreiddio fel y saeth
Trwy fron pob gelyn cyndyn caeth;
Hyfrydlais mwyn trugaredd râd
A doddo 'r cyfryw wrth dy draed.

## SALM 45. RHAN II. M. C. C.

1 CLYW hyn, O ferch, medd Duw, a gwêl,
Ac â chlust isel gwrando;
Rhaid i ti ollwng pawb o'th wlad,
A thy dy dâd yn angho'.

2 Mae am dy gael dros foroedd pell,
I wlad sydd well i drigo;
Lle mae dy Brynwr gwridog gwyn,
Anwylaf yn preswylio.

3 Gâd yna 'r byd ynghyd a'i dda,
Ei wagedd a'i deganau;
Dy felus chwantau o bob math,
D' eilunod a'th gariadau.

4 Dy gariad pènaf dyro 'n rhwydd
Ar Arglwydd yr Arglwyddi;
Y T'wysog geidw 'th ben rhag gwae,
Ar ddengmil mae 'n rhagori.

SALM 46. M. N. 7. 6.

1 YNGHANOL pob cyfyngdra,
Duw yw ein noddfa ni;
Fe wrendy Ef yn dirion
Ein cwynion oll a'n cri;
Ei wyrthiau sydd yn nerthol,
Rhagorol i'r rhai gwael;
Mae 'n gymmorth i drueiniaid,
I'r gweiniaid hawdd ei gael.

2 Os digwydd ymchwyddiadau
Yn mysg y tonnau mawr;
Gan esgyn a therfysgu
Yn llwyr nes cryno 'r llawr.
Yn nerth fy Nuw mi gredaf,
Paham yr ofnaf mwy ?
Fe gynnal Ef y gweiniaid,
Fe rêd i'w harbed hwy.

3 Mae afon rasol helaeth,
Yr iachawdwriaeth wiw.
A'i ffrydiau peraidd gwiwlwys
Yn d'od i eglwys Dduw:
Mae 'n rhoi llawenydd calon,
I'r dinasyddion sydd
I'r Iesu 'n wir ddilynwyr,
A pherchen cywir ffydd.

4 Trwy 'r byd fe baid y rhyfel,
Daw etto dawel ha';

Y Duw a rodd addewid,
  Yn hyfryd a'i cwblhâ;
Ceir gweled amlder meibion,
  Yn Sïon, dinas hedd;
A'r ddaear â phrydferthwch,
  Hawddgarwch yn ei gwedd.

## SALM 48. M. C. C.

1 ANFEIDROL fawr yn ninas Duw,
  A chlodfawr yw yr Arglwydd;
A'i hoff breswylfa hefyd sydd
  Yn mynydd ei sancteiddrwydd.

2 Gwir degwch bro, llawenydd gwlad,
  Yn wastad ydyw Sïon;
Yn nhemlau hon adweinir Ef,
  Yn noddfa gref i'w meibion.

3 'N awr wedi dod i'th dŷ ynghyd
  Oddiwrth y byd a'i wagedd;
Disgwyliwn, Arglwydd, am dy râd,
  Dy gariad a'th drugaredd.

4 O llawen fyddo Sïon fryn.
  A'i phlant yn hyfryd ganu,
I ti am garu dynion caeth,
  Trwy 'r Hwn a ddaeth i'n prynu.

5 Dy enw fyth, a'th fawl a fo,
  Trwy fryn a bro 'n gyfannedd;
Nes cyfarfyddom fry o'th flaen,
  I seinio cân gorfoledd.

## SALM 49. M. C. C.

1 Y BEDD yw lletty pob dyn doeth,
  Y ffôl a'r annoeth unwedd;

Bydd farw 'r naill, bydd farw 'r llall,
I arall gâd ei annedd.

2 Angeu yw terfyn pob dyn byw,
I hwn nid yw ond tammaid;
Rhaid myned bawb o'r tŷ i'r bedd,
Yn rhwym un wedd a'r defaid.

3 Daw dydd i'r cyfiawn, dranoeth teg,
Daw iddo 'chwaneg estyn;
Daw iddo o'r bedd godiad i fyw,
Deheulaw Duw a'i derbyn.

SALM 51. M. B. C.

1 TRUGAREDD dod i mi,
Duw, o'th ddaioni tyner;
Tyn ymaith fy anwiredd mau,
O'th drugareddau lawer.

2 Ag isop golch fi 'n lân,
Ni byddaf aflan mwyach,
Trwy 'm golchi, byddaf fi fel hyn,
Fel eira gwyn neu wynach.

3 Duw, crëa galon bur,
Dod imi gysur beunydd;
I fyw yn well tra fwy 'n y byd,
Dod imi ysbryd newydd.

4 Aberthau Duw yn wir,
Yw ysbryd gwir ddrylliedig;
Ac ni ddirmygi, O Dduw Ion,
Y galon gystuddiedig.

5 A rho i'm orfoledd llawn
Dy gyflawn iachawdwriaeth;
A chynnal fi, bechadur gwael,
A'th Ysbryd hael yn helaeth.

## SALM 57. M. N. 8. 7.

1 PAROD yw fy nghalon, Arglwydd,
I'th foliannu, parod yw;
Canmol wnaf, a chanu clodydd
Fy Ngwaredydd, a fy Nuw.
Deffro, fy ngogoniant, deffro,
Unwaith etto iddo cân
Ganiad felus, addas, weddus,
O gyhoeddus foliant glân.

2 Dy drugaredd sydd yn cyrraedd
Hyd y nefoedd uchel fry;
A'th wirionedd hyd at lwybrau
Y cymylau danynt sy:
Uwch y nefoedd, Duw, ymddyrcha,
Etto yma bydd o hyd;
A'th ogoniant glân yn gynnar
Lanwo 'r ddaear faith i gyd.

## SALM 61. M. C. C.

1 ERGLYW, O Dduw, fy llefain i,
Ac ar fy ngweddi gwrando:
Rhof lef o eitha 'r ddaear gron,
A'm calon yn llesmeirio.

2 Dwg fi i dalgraig uwch na mi,
Ac iddi bydd im' derbyn;
Can's Craig o obaith, Tŵr, a Grym
A fuost i'm rhag gelyn.

3 O fewn dy babell y bydd byth
Fy nhrigfan ddilyth ddedwydd;
A'm holl ymddiried a fyn fod
Yn nghysgod dy adenydd.

## PSALM 65. M. C. C.

1 YMWEL'D â'r ddaear 'r wyt, O Dduw,
A phob peth byw sydd arni;
Gan anfon gwlaw a gwlith i lawr,
I'w thramawr gyfoethogi.

2 Pob cefn a rhŷch wyt yn ddyfrhau,
A'i chwysau wyt yn ostwng;
A'i mwydo 'r wyt â chafod wlith,
I'w chnwd rhoi fendith deilwng.

3 Trwy 'th fendith Di y gwastad-dir,
A guddir oll â defaid;
Crechwena, câna pawb ynghyd,
A'r wlad ag ŷd ei llonaid.

4 Coroni 'r ydwyt Ti fel hyn
Y flwyddyn â'th ddaioni:
A'th lwybrau di ar fryn a phant,
Ddiferant frasder arni.

## SALM 67. M. B.

1 TRUGAREDD Duw i'n plith,
A'i fendith ini gyd!
Tywyned mwy ei wyneb mâd,
Ar dref a gwlad o hyd.

2 Fel gwyper ffordd dy râs
Trwy 'r ddaear lâs yn llon;
A'th iachawdwriaeth fawr yn mhlith
Holl amrith bobloedd hon.

3 Duw, moled pobloedd di,
Rho'nt fawl a bri ynghyd;
A'r holl genhedloedd îs y nen
Yn llawen b'ont o hyd.

4 O moled pawb yn bêr
Sydd îs y sêr yn byw,
Dydi ein Duw, a'n dwyfol Dad,
A Cheidwad dynolryw.

## SALM 67. CYF. II. M. C.

1 O DDUW llewyrcha 'r Brydain Fawr,
A grasol wawr dy wedd;
Datguddia 'th nerth trwy 'i pharthau i gyd,
A'th hyfryd hyfryd hedd.

2 Pa bryd y bydd i'th enw cu
Ymdaenu o fôr i fôr?
A phobloedd pell, d' adnabod di,
A moli ein Harglwydd Iôr.

3 Chwi wledydd pell mawrhêwch yr Iôn,
A llafar dôn ynghyd;
A chaned Brydain hithau 'i fawl,
Fe bïau 'r hawl o hyd.

## SALM 71. M. C.

2 O ARGLWYDD Dduw, fy ngobaith byth
Sy 'n ddilyth ynot ti;
Dy law alluog bob rhyw bryd,
O'm mebyd daliodd fi.

2 Bob blwyddyn faith o'm bywyd brau,
Dy wyrthiau welais i:
Ac od oes imi ddyddiau mwy,
Mi rhoddaf hwy i Ti.

3 Pan ballo 'm nerth na wrthod fi,
Rho imi brawf o'th hedd:
Bydd imi 'n nerth a'm rhan o hyd,
Cyn myn'd o'r byd i'r bedd.

4 Ac yna 'n hanes fèr fy oes,
Wrth olrhain f'einioes frau:
Ceir gwel'd dy gariad yn mhob rhan,
A'th wiwlan glod yn glau.

## SALM 72. M. C. C.

1 YMLEDU wna llywodraeth Ior
O fôr hyd fôr yn gynnar;
O ffrŵd Euphrates fawr yn glau,
Hyd bell derfynau 'r ddaear.

2 Ei ofni wneir mewn bryn a bro,
Tra treiglo haul a lleuad;
Daw 'lawr fel gwlaw ar borfa lâs,
Neu gawod frâs ar wastad.

3 Ac yn ei ddyddiau Ef yn iawn,
Y cyfiawn a flodeua;
Bydd heddwch hyfryd îs y nen
Tra lleuad wen yn para.

4 Tra haul yn troi 'n yr wybren fry,
Y pery enw iddo:
Pawb a'i bendithia Ef yn wir,
A phawb fendithir ynddo.

## SALM 80. M. C. C.

1 ARWEINYDD Joseph, clyw a gwêl,
O Fugail Israel, gwrando;
O blith cerubiaid edrych 'lawr,
Yn awr, gan ymddisgleirio.

2 O dychwel di, a'th wyneb llon,
Llewyrcha'n dirion arnom;
Ac yna fe 'n hachubir oll,
Fel nad ar goll yr elom.

3 Oddiwrthyt ti ni chiliwn chwaith,
Ond wrth dy waith y glynwn;
Ein hysbryd marwaidd bywioca,
A'th enw a glodforwn.

## SALM 84. M. C. C.

1 DY babell Di, mor hyfryd yw,
O Arglwydd byw y lluoedd!
Mynych chwennychais weled hon,
Gan mor dra thirion ydoedd.

2 Y man 'r wyt Ti, boed fryn neu fro,
Sydd gyflawn o ddedwyddwch:
Ac yn dy byrth yn wastad mae
Rhyw fôr didrai o heddwch.

3 Duw yno sydd yn traethu 'n llon
Ddirgelion ei ewyllys;
Cawn yno geisio 'i nawdd bob pryd,
A'i foli o hyd yn felus.

4 O Arglwydd Dduw y lluoedd mawr,
Anfon i lawr dy gymmod:
Gwyn fyd y dyn a roddo 'i grêd,
A'i holl ymddiried ynod.

5 Dy arlwyadau hael, fy Nuw
Tra byddwyf byw fo imi;
A'th dŷ fo 'n drigfan im' o hyd,
A'm gwaith i gyd dy foli.

## SALM 84. CYF. II. M. N. 148.

1 ARGLWYDD y bydoedd fry, mor deg, a hawddgar yw,
Trigfanau 'th gariad cu, daearol demlau'm Duw,

Mae tynfa f'enaid tu a'th dŷ,
Fy Nuw, gael gwel'd dy wyneb cu.

2 O ddedwydd ddynion sy', yn aros yn nhŷ Dduw!
Ac yno 'n canu 'i glod yn barod yn eu byw.
Ac yn dy nerth trwy 'r anial fyd
Y rhodiant hwy dy ffyrdd o hyd.

3 O nerth i nerth i gyd yr ânt trwy 'r dyffryn du;
Nes delont bawb ger bron eu Duw yn Sïon fry;
O hyfryd ddydd, pan ddygo Duw
Ei blant i'r nefoedd atto i fyw.

4 Aderyn bach y tô, a gais i'w gywion le,
A'r wenol ar ei thro, hiraetha am ei thre;
Mae 'r unrhyw chwant yn f'enaid byw
Am fod, O Dduw, yn mysg dy blant.

SALM 84. RHAN III. M. N. 148.

1 CAEL treulio sanctaidd ddydd, lle byddo Duw a'i saint,
Llawenydd gwell a rydd, na mil mewn bydol fraint:
Gwell yw bob pryd, lle dêl fy Ior,
Gael cadw 'r ddôr, na llysoedd byd.

2 Ein haul a'n tarian yw yr Arglwydd Dduw o hyd;
Grâs a gogoniant gwiw, a rydd i'w blant i gyd;
Ffordd Sïon gu, a rodiant hwy,
Ni fethant mwy, mae Duw o'u tu.

3 Mae 'r saint yn hoff gan Dduw, ni attal ddim sydd dda

Oddiwrth ei bobl wiw, eu cynnal hwy a wna:
A gwyn ei fyd, yr enaid dwys,
A roddo 'i bwys ar Dduw i gyd.

## SALM 87. M. C. C.

1 SYLFAENI hon, sef Sïon, sydd
Ar gyssegr fynydd uchod;
Ac ar ei phyrth ei serch roes Duw,
Uwch pob ryw drigfan isod.

2 O ddinas Duw, preswylfa 'r Ion,
Mawr ydyw 'r sôn am danat;
Ac uwch gogoniant iti fydd,
Pan roir y gwledydd attat.

3 Babel, a'r Aipht, gelynion gynt,
Gwneir hwynt i ti 'n gariadus;
Philistia gref ddarostwng grâs,
Arabia frâs â Thyrus.

4 Ei chlod sy 'n llenwi bro a bryn,
Dywedir hyn am dani;
"Fe anwyd ynddi 'r gwr a'r gwr,
A Duw fydd Noddwr iddi."

5 Llïosog iawn fydd rhif ei phlant,
Ac unant oll i ganu,
"O Sïon, ynot byth y mae
Fy holl ffynnonau 'n tarddu."

## SALM 90. M. C. C. 8. 7.

1 DUW buost in' yn Arglwydd da,
Ac yn breswylfa i drigo;
O bryd i bryd, ac felly 'r aeth
Pob rhyw genhedlaeth heibio.

2 Er cyn rhoi sail un mynydd mawr,
Cyn llunio llawr cwmpas-fyd;
Yn Dduw tragwyddol wyt cyn neb,
Hyd dragwyddoldeb hefyd.

3 Diwalla ni yn foreu iawn
A nefol ddawn trugaredd;
Fel byddo ini lawen fyd
Yn hyfryd hyd y diwedd.

## SALM 92. M. H.

1 GWAITH hyfryd iawn, a melus yw,
Moliannu d'enw di, O Dduw;
Sôn am dy gariad foreu glâs,
A'r nôs am wirioneddau 'th râs.

2 Y Sabbath hyfryd ŵyl yw hon,
Na flined gofal byd ein bron;
O boed ein calon ni mewn hwyl,
Fel telyn Dafydd ar yr ŵyl.

3 Yn Nuw fy nghalon llawenhâ,
Bendithio i waith a'i air a wna;
Mor hardd yw gwaith dy râs, O Dduw,
A'th gynghor di, cyn ddyfned yw!

4 Caf ddedwydd ogoneddus ran,
Pan buro grâs fy enaid gwan:
Mae gwir lawenydd uwch y nen,
Fel olew pur i lôni 'm pen.

## SALM 93. M. N. 8. 7. 4.

1 'RARGLWYDD nerthol sy 'n teyrnasu
Mewn mawrhydi uwch y rhôd,
Ac yn gwisgo ardderchowgrwydd
Uwch pob Arglwydd sydd yn bôd;

Gwaith ei ddwylaw, &c. byth sydd yn egluro'i glod,

2 Mae 'n teyrnasu yn y nefoedd,
Cyn yr oesoedd oll erioed;
Cadarn sail i'r byd gosododd,
Byth ni syflodd dan ei droed:
Bydoedd prydferth, &c. with ei air a'i nerth a roed.

3 Sicr iawn yw tystiolaethau,
Cadarn byneiau deddfau Duw;
Gwir sancteiddrwydd sydd yn gweddu
I'r rhai fo 'n ei dŷ am fyw:
Braint ddigymhar, &c. fwyaf ar y ddaear yw.

## SALM 95. M. C. C.

1 I'R Arglwydd rhoddwn fawl yn rhwydd,
Efe yw llwydd ein bywyd;
Ac ymlawenhawn yn ei nerth,
Ef yw ein prydferth iechyd.

2 O down yn unfryd ger ei fron
A chalon bur ddiolchgar;
Brysiwn at Dduw dan lawenhau,
A chanwn Salmau 'n llafar.

## SALM 95. RHAN. II. 8. 7. 3.

1 CANWN fawl i Dduw yn hyfryd,
Yn ei iechyd llawenhawn;
Down o'i flaen Ef yn 'wyllysgar,
Rhown yn llafar ddïolch llawn:
Brenin yw 'r Arglwydd Dduw,
Iddo bawb y byddom byw.

2 Yn ei law mae gorddyfnderau,
Uchelderau mawr y byd;
Perchen moroedd a dyffrynoedd,
'R holl fynyddoedd mawr i gyd:
Dowch yn awr, waelion llawr,
Rhown ein mawl i'w allu mawr.

3 O'i flaen deuwn heddyw'n dawel,
Ef yw 'n Bugail mawr a'n Duw;
Ninnau 'n ddefaid i'r Jehofah,
Ar ei borfa 'r y'm yn byw:
O gwrandâwn 'i air yn iawn,
Rhown yn llwyr ufudd-dod llawn.

## SALM 96. M. C. C.

1 O CENWCH glod i'r Arglwydd mâd,
A moeswch ganiad newydd;
Y ddaear oll datgenwch fawl
Yr Arglwydd nefawl beunydd.

2 O cenwch glod i'r Arglwydd nef,
Ei enw Ef bendigwch;
A'i iachawdwriaeth Ef bob dydd
Trwy grefydd bur cyhoeddwch.

## SALM 100. M. H.

1 I'R Arglwydd cenwch lafar glod,
A gwnewch ufudd-dod llawen fryd:
Dowch o flaen Duw â pheraidd dôn,
Trigolion y ddaear i gyd.

2 Gwybyddwch mai 'r Arglwydd sydd Dduw,
A'n gwnaeth ni 'n fyw fel hyn i fod;
Nid ni 'n hunain; ei bobl ŷm ni.
A defaid rhi' ei borfa a'i nôd.

3 O ewch i'w byrth â diolch brau,
Yn ei gynteddau molwch Ef;
Bendithiwch enw Duw hynod,
Rhowch iddo glod trwy lafar lef.

4 Can's da yw 'r Arglwydd, awdwr hedd;
Da ei drugaredd a dilyth;
Ei wirionedd i ni a roes,
O oes i oes a bery byth.

SALM 100. CYF. II. Denmark.

1 O FLAEN gorseddfaingc uchel Iôn,
Dewch bobloedd oll, dan lawenhau;
Mawr yw ei enw uwch pob sôn,
Efe sy 'n lladd ac yn bywhau.

2 Ei allu mawr a'n crëodd oll;
Ein ffurf o glai a wnaeth i gyd:
Fel defaid aethom bawb ar goll,
Ond dyg ni 'n ol i'w gorlan glyd.

3 Seiniwn ei fawl â llawen iaith,
Dyrchafwn lais hyd entrych nef;
Daw 'r byd a'i fil o filoedd maith,
I'w byrth ag un soniarus lef.

4 Hwy pery ei air na môr na thir;
Didrangc ei gariad mawr a'i râs:
Fel cadarn graig y saif ei wir,
Pan gryno 'r nef a'r ddaear lâs.

SALM 102. M. C. C.

1 PAN adeilader Sïon wych,
Bydd hon yn ddrych i'r gwledydd;
Pan welir gwaith yr Arglwydd ne',
Y molir E 'n dragywydd.

1 Fel y cydleisient hwy ar gân
Yn Sïon lân ei foliant;
Ac yn Nghaersalem yr un wedd,
Ei fawredd a'i ogoniant.

2 Hyn fydd pan gasglo pawb ynghyd
Yn unfryd i'w foliannu;
A'r holl deyrnasoedd dônt yn ngŵydd
Yr Arglwydd, i'w was'naethu.

## SALM 103. M. C. C.

1 FY enaid, mawl Sanct Duw yr Ion,
A chwbl o'm heigion ynof;
Na ollwng fawl yr Arglwydd nef,
Na'i ddoniau Ef yn anghof.

2 Yr hwn sy 'n maddeu dy holl ddrwg,
Yr hwn a'th ddwg o'th lesgedd;
Yr hwn a weryd d'oes yn llon,
Drwy goron o'i drugaredd.

3 Cyfuwch ag yw'r ffurfafen fawr
Oddiar y llawr o uchder;
Cymmaint i'r rhai a'i hofnant Ef
Fydd nawdd Duw nef bob amser.

4 Os pell yw'r dwyrain oleu hin,
Oddiwrth orllewin fachlud;
Cyn belled ein holl bechod llym
Oddiwrthym Ef a'i symmud.

5 Ac fel bydd cariad, nawdd, a chwant,
Tad da i'w blant naturiol;
'R un modd cawn serch ein Tad o'r nef,
Os ofnwn Ef yn dduwiol.

Yr hwn a breswyl yn y nef,
I'r ddaear hon darostwng Ef;
Gwel Ef ein cam, clyw Ef ein cri.

SALM 115. M. N. (YR HEN 50AIN.)

1 I'N henwau gwael, O Dduw, ni pherthyn clod,
I'th enw mawr dy hun, gogonedd dod:
Dy nerth, dy nawdd, dy wir, a'th iawnder maith,
A bair dy foli mewn anfarwol iaith:
Goleua 'r byd o'r nef dy drigfan ddedwydd:
Na chaed ynfydion dd'weyd, "Pa le mae 'ch Harglwydd?"

2 O Israel, dod ymddiried yn dy Dduw,
Dy gadarn borth a'th amddiffynwr yw:
Adnebydd Ef dy drallodedig wedd,
A'th weddi clyw, adfera iti hedd:
Cysuron pur a rydd ei wir addoliant
Dy gymmorth hael yw Duw, dod iddo foliant.

SALM 117. M. C. C.

1 O CENWCH fawl i'r Arglwydd nef,
Moliennwch Ef genhedloedd;
Molwch ei enw Ef trwy 'r byd,
Chwithau i gyd y bobloedd.

2 Am ei fod ini yn dda iawn,
Yr Arglwydd llawn trugaredd:
A'i air Ef sydd yn parhâu byth,
Sef ei ddilyth wirionedd.

SALM 117. CYF. 2. M. C.

1 I GREYDD byd rhowch fawl yn bêr,
Bawb îs y sêr sy 'n byw;

Clodforwch fyth, chwi lwythau 'r llawr,
Eich Ceidwad mawr a'ch Duw.

2 Tragwyddol yw trugaredd Iôr,
Mae fel rhyw fôr i ni:
A'i air a bery 'n gadarn byth,
Boed iddo barch a bri.

## SALM 118. M. N. 7au.

1 CENWCH oll â llafar lef
Gân o fawl i Frenin nef,
Canys da yw Duw di lyth;
Pery ei drugaredd byth.

2 Uned Israel, fawr a mân,
Yn y felus weddus gân:
Da i bawb yw Duw di lyth, &c.

3 Teulu Aaron gano 'n awr,
Gan roi mawl i'r Arglwydd mawr;
Da i bawb, &c.

4 D'weded pawb sy 'n ofni Duw,
O bob llwyth ac iaith a lliw;
Da i bawb, &c.

## SALM 119. M. C.

1 GWYN fyd y gwr a rodio 'n 'mlaen
Mewn uniawn ffordd trwy 'r byd;
Gan rodio 'n lew yn nghyfraith lân
Jehofah mawr o hyd.

2 Gwyn fyd y sawl yn cadw sy
Ei lwybrau ar ei daith;
Gan geisio gwên ei wyneb cu,
A'i galon yn y gwaith.

3 O am gyfeirio 'm ffyrdd i gyd
I gadw deddf fy Nuw!
Ac ymhyfrydu ar bob pryd
I'w ganmol tra b'wyf byw.

SALM 119. RHAN II. M. B.

1 DATGUDDIA di, wrth raid,
Fy llygaid, O fy Nuw!
I ganfod rhyfeddodau maith
O'th gyfraith tra b'wyf byw.

2 Dy dystiolaethau gwir
Fo 'm doeth gynghorwyr mwy;
A hyfryd gan fy enaid fo
Myfyrio ynddynt hwy.

3 Pererin wyf ar daith
Trwy anial maith y byd:
Llewyrched ar fy ffordd dy air
Yn ddisglaer iawn o hyd.

4 Rhag imi ŵyro mwy
I'r aswy nac i'r dde':
Rho ffordd gwirionedd o fy mlaen,
Nes delwy 'n lân i'r ne'.

SALM 121. M. C. C.

1 DYSGWYLIAF o'r mynyddoedd draw
Lle daw im' help 'wyllysgar;
Yr Arglwydd rydd im' gymmorth gref,
Yr hwn wnaeth nef a daear.

2 Dy droed i lithro Ef nis gâd,
A'th Geidwad fydd heb huno;
Nid oes i Geidwad Israel lân,
Na hûn na hepian arno.

3 Ar dy ddeheulaw mae dy Dduw,
Yr Arglwydd yw dy Geidwad;
Dy lygru ni chaiff haul y dydd,
A'r nôs nid rhydd i'r lleuad.

4 Yr Iôn a'th geidw rhag pob drwg,
A rhag pob cilwg anfad:
Cai fyn'd a dyfod byth yn rhwydd,
Yr Arglwydd fydd dy Geidwad.

## SALM 122. M. C. C.

1 I DY fy Nuw, pan dd'wedent, Awn,
I'm llawen iawn oedd gwrando;
O fewn dy byrth, Caersalem lân,
Ein traed a safant yno.

2 Caersalem deg, hoff ddinas Duw,
Mor gadarn yw ei sylfaen!
A'i phlant sydd ynddi yn gytûn,
A Duw ei hun a'i drigfan.

3 O fewn ei llysoedd heddwch boed,
Llawenydd doed i'w llenwi;
Pob duwiol rodd a nefol râd
I'r sawl fo 'n gwarchad ynddi.

## SALM 122. CYF 2. M. C.

1 FY nghalon llawenychu wnai
Pan dd'wedai 'm ceraint gwiw:
I Sïon awn, holl deulu 'r ffydd,
I gadw dydd i'n Duw.

2 I'w lysoedd daw â mawl a chân
Y llwythau glân ynghyd:
Ac yno mae ein Prynwr mwyn
A glyw ein cŵyn i gyd.

3 O fewn ei chaerau heddwch boed,
Llawenydd doed i hon:
Pob dawn ysbrydol, nefol, bur,
I wylwyr Sïon lòn.

## SALM 126. M. C. C.

1 ER wylo wrth lafurio 'n awr,
Rhyw lwyddiant mawr a welir;
Y rhai sy 'n hau y gwerthfawr hâd,
Yn mhob rhyw wlad bendithir.

2 Er llawer cawod oer, a chwith,
Bydd bendith ar lafurio;
A thâl i lafur dydd a nôs
Er tywydd croes ac wylo.

3 Ein Duw a rydd i'w blant o'r ne'
Oleuni 'n lle tywyllwch;
A thry eu dagrau am eu bai
Yn ffrydiau o ddiddanwch.

4 Pan ddelo 'r holl ysgubau 'nghyd,
Bydd hyfryd eu calonau;
Y rhai a welwyd lawer awr,
Yn wylo i lawr y dagrau.

## SALM 128. M. C. C.

1 A OFNO 'r Arglwydd gwyn ei fyd,
Gan rodio ar hyd ei lwybrau:
Bwytâi o ynnill gwaith dy law,
Da iti ddaw yn ddiau.

2 Dy wraig wrth furiau 'th dŷ îs nen
Fydd fel gwinwydden ffrwythlon;
Dy blant o gylch dy fwrdd a fydd,
Fel olew-wŷdd blanigion.

3 Wele fel dyma 'r modd yn wir
Bendithir y gwr cyfion;
A ofno 'r Arglwydd Dduw yn ddwys,
Rhydd arno bwys ei galon.

## SALM 130. M. C. C.

1 PWY saif, O Dduw, yn d' olwg di,
Os creffi ar anwiredd?
Ond fel y'th ofner di yn iawn,
Yr wyt yn llawn trugaredd.

2 Am hòn fy enaid disgwyl wna
Fwy na gwyliedydd difri',
A dry ei olwg bob pen awr,
A welo 'r wawr yn tòri.

3 Disgwylied Israel wrth Dduw 'r nef,
A cheisied ef ei wyneb;
O herwydd mae 'n drugarog iawn,
A chyflawn o rasoldeb.

4 Mae pur ryddhâd wrth orsedd Iôn
I ddynion o'u caethiwed:
Oddiwrth ei feiau oll ryw ddydd
I Israel rhydd ymwared.

## SALM 132. M. H.

1 O CYFOD i'th orphwysfa wiw,
Tydi ac Arch dy nerth, O Dduw,
Dy air a'th Ysbryd fo i'n plith
A'th râs ddyhidlo fel y gwlith.

2 Boed dy offeiriaid oll o'th flaen
Mewn gwisgoedd o gyfiawnder glân;
Gwirionedd fo 'n addurno 'th saint,
A gorfoleddont yn eu braint.

3 Er mwyn d' Enneiniog mawr ei fri,
Dod y bendithion hyn i ni:
Ac na'd i un o honom fod
Na bo 'i sancteiddrwydd er dy glod.

## SALM 133. M. C.

1 GWEL'D brodyr cu yn byw ynghyd,
Mor dda, mor hyfryd yw!
Heb un anghydfod yn eu plith,
Ac oll dan fendith Duw.

2 Mae fel yr ennaint prydferth drud,
Oedd yn defnynu i lawr
'R hyd barf a gwisg Offeiriad Duw
Yn beraidd bob rhyw awr.

3 Fel gwlith pen Hermon, hyfryd wawr,
A Sïon mynydd Duw,
O'r wybren oedd yn d'od i lawr,
Yn bêr gawodydd gwiw.

4 Yn awr mae olew 'r Ysbryd Glân
Trwy Ben yr Eglwys fawr,
Yn mysg y gwir aelodau mân,
Yn d'od yn wlith i lawr.

## SALM 134. M. C.

1 CHWI weision Duw, a drigwch fry,
Ac yn ei dŷ sy 'n byw;
Bob dydd a nôs dyrchefwch gân
O foliant glân i Dduw.

2 A chwithau saint, sy 'n caru byw
Yn nhemlau Duw is rhôd:
Gan godi dwylaw tua 'r nef,
Rhowch iddo Ef y clod.

3 Jehofah mawr, yr hwn a wnaeth,
Y ddaear faith a'r nef,
O Sïon a'n bendithio ni,
A'r parch a'r bri gaiff Ef.

## SALM 136. M. N. 148.

1 RHOWCH glod i'r uchel Dduw, Iôr nef a daear lâs:
Brenin brenhinoedd yw, rhyfedded pawb ei râs:
Trugaredd Duw a bery byth,
A'i air dilyth safadwy yw.

2 Fe 'n canfu ni ar goll, trwy bechod oll i gyd:
O'i râs tosturio wnaeth wrth gyflwr caeth y byd:
Trugaredd Duw, &c.

3 Rhown foliant iddo 'n awr, Duw, Brenin mawr y nef:
A chaned daear faith, ei waith a'i gariad Ef:
Trugaredd Duw, &c.

## SALM 138. M. C.

1 MAWRHEAIST ti, O Dduw dy air,
Uwch nef a daear faith:
Mwy amlwg ynddo 'th enw gair,
Nag mewn un rhan o'th waith.

2 Gwrandewi di ar lais y gwàn,
Pan lefo tu a'r nef;
A nerth anfoni yn y màn
I'w enaid egwan ef.

3 Ac er dy fod yn rhyfedd fawr,
Goruwch y nef i gyd;
A llygad llòn edrychi 'lawr
Ar dlodion isel fryd.

## SALM 139. M. N. 8. 7.

1 ARGLWYDD chwiliaist fi â'th lygad,
Adnabuost fi yn iawn :
Fy eisteddiad a'm cyfodiad
Weli 'r boreu a'r prydnawn :
Fy ngorweddfa glŷd a'm llwybrau
Amgylchyni di o hyd :
Deall 'r wyt fy holl feddyliau,
Hysbys it' fy ffyrdd i gyd.

2 Nid oes un gair ar fy nhafod,
Nid oes fwriad dan fy mron,
Nad wyt ti yn ei adnabod,
Arglwydd mawr, y funud hon :
O pa fath wybodaeth ryfedd
A godidog, genyt sy !
Uchel yw tu hwnt i'n cyrraedd,
Uwch amgyffred engyl fry.

3 Chwilia fi, O Dduw, fy hunan,
Gwybydd fy meddyliau i gyd :
Prawf fi fel y profir arian,
Pura 'n lân fy enaid drud :
Gwêl a oes rhyw ffordd annuwiol
Genyf fi yn anwyl gu :
Tywys fi 'n ffordd dragwyddol,
Ffordd a'm dwg i'r gwynfyd fry.

## SALM 144. M. H.

1 BENDIGAID fyddo'r Arglwydd nef,
Fy unig amddiffynfa gref,
Fy nhŵr a'm nerth, fy nharian yw ;
Gwaredwr doeth erioed yw Duw.

2 O Arglwydd da pa beth yw dyn,
I ti ymwel'd ag ef dy hun,
A grâs ac iachawdwriaeth Duw
Gan wneud ei enaid marw 'n fyw!

3 Mae 'r ddinas a fendigo Duw
A'i meibion fel planigion gwiw;
A'i merched mewn llewyrchiad llòn,
Yn feini hardd o fewn i hon.

4 Gwyn fyd y rhai y daw o'r nen
Dy fendith beunydd ar eu pen;
Gwyn fyd y bobl sydd felly 'n byw,
A'r Arglwydd iddynt hwy yn Dduw.

## SALM 145. M. B.

1 TOSTURIOL yw ein Duw,
A graslawn bob rhyw bryd:
O drugareddau mae yn llawn,
Hwyfrydig iawn i lid.

2 I bawb daionus yw
Y Duw deyrnasa fry:
Ac ar ei holl weithredoedd mâd
Ei râd drugaredd sy.

3 Yn cynnal mae ei hun
Bob un ar syrthio sydd:
A'r enaid gostyngedig gwan
A gwyd i'r lan ryw ddydd.

4 Yn disgwyl wrtho Ef
Mae llygaid pob peth byw:
A'u bwyd a estyn yn ei bryd
I'r rhai'n yn ol eu rhyw.

## SALM 147. M. B.

1 O CENWCH fawl i Dduw,
Tra gweddus ydyw 'r gwaith,
Am ei drugaredd ryfedd, rhâd,
Pob cenedl, gwlad, ac iaith.

2 Fe adeilada Duw
Ei Sïon wiw heb wâd;
A'i wasgaredig dwg i hon,
Modd tirion at eu Tad.

3 'N ol cael ei blant ynghyd
Yn hyfryd fe'u hiachâ;
Gan rwymo 'r ysig galon friw,
Mae Duw yn Feddyg da.

4 Cydgenwch i Dduw nef,
Darpara Ef bob pryd,
O ffrwythau daear rhydd eu rhaid
I holl gre'duriaid byd.

5 O Sïon, canmol di
Y Duw sy 'n rhoddi hedd;
A phob cysuron it' ynghyd
Cyn myn'd trwy 'r byd i'r bedd.

## SALM 148. M. B.

1 I DDUW rhowch foliant clau
Yn uchelderau 'r nef:
Cerubiaid a Seraphiaid llòn,
Angylion, molwch Ef.

2 Chwychwi 'r dyfnderau mawr,
A'r holl elfenau 'nghyd:
A'r coedydd ffrwythlawn o bob rhyw,
Rhowch fawl i Dduw i gyd.

3 Pob bwystfil yn mhob bro,
Pob 'nifail molwch Ef:
A phob ymlusgiaid byd yn haid,
A holl ehediaid nef.

4 Holl fawrion daear, dowch,
Cynghanedd rhowch ynghyd,
I foli 'r dyrchafedig Dduw,
Ef biau 'r mawl i gyd.

5 Yn siriol doed y saint,
Am eu rhagorfraint fawr:
Gwir Israel Duw sydd îs y nef,
Moliennwch Ef yn awr.

SALM 148. Cyf. 2. m. n. 148.

1 HOLL lwythau Adda dowch, nef, daear moroedd maith:
Mawl i'ch Creawdwr rhowch, yn eich amrywiol iaith:
Angylion glân, chwi ddisglaer lu,
Mewn bydoedd fry, rhowch ddechreu 'r gân.

2 Yr haul a'i lewyrch cry', a'r lloer i'r nôs sy 'n llyw,
A'r sêr gwreichionllyd lu, sy ddisglaer, molwch Dduw:
Traethwch ei nerth, chwi ddyfroedd fry:
Cymylau sy mewn wybren serth.

3 Chwi holl ddaearol hil, a'r môr-fwystfilod mawr:
A'r pysgod bychain fil, sy 'n nofio 'r eigion lawr;
O fôr a thraeth á'ch teyrnged dewch,
Ac eglurhêwch nerth Duw a'ch gwnaeth.

4 Tân, cenllyg, eira, tarth, moliennwch Arglwydd nef;
A'r gwynt o bob rhyw barth, gwnewch oll ei eirchion Ef,
Pan ruo draw daranau clau,
A'r mellt yn gwau, rhowch barch i'w law.

5 Mynyddoedd mawrion sydd, a'r cedrwydd uchel iawn,
A phob rhyw isel wŷdd, sy 'n dwyn eu ffrwythydd llawn;
Ehediaid nef, bwystfilod fyrdd,
Mewn amryw ffyrdd, clodforwch Ef.

SALM 148. RHAN III. 148.

1 BRENHINOEDD, Barnwyr byd, bawb ofnwch Frenin nef:
Wrth lywodraethu i gyd, rhowch barch i'w fawredd Ef:
Tra byddoch byw mewn rhwysg a bri,
Clodforwch chwi fawrhydi Duw.

2 Gwyryfon, llangciau llon, ymrowch i'w foli Ef:
Hen bobl a phlant, o'r bron, rai sydd a gwànach llef:
Trwy 'i deyrnas faith boed bythol gân
I'w enw glân, gan bob rhyw iaith.

3 Pob cenedl ofnwch ŵg, y Duw sydd Frenin fry:
Ei bobl yn agos dwg, i brofi ei gariad eu:
Daear a nef moliennwch Dduw,
A'i seintiau byw, bendithiwch Ef.

SALM 150. M. N. 7au.

1 HALELUIA, molwch Dduw,
Yn y nefoedd lle mae 'n byw;

Trigfan ei sancteiddrwydd glân,
Lle deffroir y fythol gân.

2 Uned y ffurfafen gref
Yn y gân a ddechreu 'r nef;
A'i dadseinio 'n uwch na 'r sêr
Uned saint y byd yn bêr.

3 Mawl i Dduw trwy 'r ddaear lâs,
Moliant rhwydd am wyrthiau 'i râs:
Mae yn gadarn i iachâu,
Mae yn caru trugarhâu.

4 Canwn oll â llafar dôn
Haleluia bêr i'r Iôn:
Rhodded pawb sy 'n perchen chwyth,
Foliant fwyfwy iddo fyth.

---

## MAWL-ODLAU.

*(Gloria Patri.)*

M. C. C.

GOGONIANT fyth a fo i'r Tad,
I'r mab rhad a'r Glân Ysbryd;
Fel y bu, y mae ac y bydd
Un Duw tragywydd hyfryd.

M. H.

GOGONIANT, moliant, parch a bri
I'r Un a Thri tragwyddol fyth:
Y Tad, y Mab, ar Ysbryd Glân,
Fel gynt, tra bo na chân na chwyth.

M. C.

RHOED pawb trwy 'r byd bereiddiaf fawl
A'r nefawl gôr i gyd,
I'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân,
Ag hyfryd gân o hyd.

# HYMNAU.

---

## MAWL I DDUW

### AM GREADIGAETH, RHAGLUNIAETH, A GRAS.

---

### HYMN 1. M. C. C.

1 Y TAD, y Mab, a'r Ysbryd Glân,
  Duw hunan-ymddibynol;
Creawdwr nefoedd, tîr a môr,
  Hwn yw fy Iôr anfarwol.

2 Mae 'n Hollbresennol yn mhob man,
  Yn llenwi anfeidroldeb:
Fel uchder nef, mae dyfnder tòn,
  Yn noeth ger bron ei wyneb.

3 Duw Hollalluog ar bob llaw,
  I'w filwyr daw gorfoleddd:
Caiff Hollwybodol, berffaith Fôd,
  Is, uwch y rhôd, anrhydedd.

4 Mae Ef yn darian, mae Fe 'n dŵr,
  Iachawdwr rhag pechodau;
Nid oes ar ddaear neb rhyw ddyn
  Yn haeddu 'r un o'r enwau.

5 Mae 'n Dduw trugarog at y gwan,
Creawdwr annewidiol;
Duw sanctaidd, ffyddlawn, cyfiawn, cair,
Cyflawnai 'i air yn wrol.

HYMN 2. M. C.

1 MAE 'n llon'd y nefoedd, llon'd y byd,
Llon'd uffern hefyd yw;
Llon'd tragwyddoldeb maith ei hun,
Diderfyn ydyw Duw.

2 Mae 'n llon'd y gwagle yn ddigoll,
Mae 'i air a'i allu 'n un;
Anfeidrol, anherfynol Fôd,
A'i hanfod ynddo 'i hun.

3 Un hunan-fodol ydoedd Ef
Cyn llunio nef na llawr,
Yn nhragwyddoldeb pell yn ol,
Yn Dduw anfeidrol fawr.

4 Heb ddechreu dyddiau iddo 'n bod
Na diwedd einioes chwaith,
Yn Drindod bur mewn Undod bydd
I dragwyddoldeb maith.

HYMN 3. M. N. 8. 7.

1 DY drugaredd deg ragorol,
O'r tragwyddol Arglwydd Dduw,
Yw y pur ddaioni pènaf,
Arni byth y byddwn byw;
Mae 'th drugaredd yn rhagori
A'r oleuni 'r haulwen hardd
Ein holl felus wir orfoledd,
O'th drugaredd di a dardd.

2 Gwell na 'r byd, a gwell na 'r bywyd,
Yw dy hyfryd hedd i ni;
Nis gall dim ddigoni 'r galon,
Ond dy dirion gariad di:
Os cawn ni dy bresennoldeb,
A goleuni 'th wyneb glân;
Llawenhâwn tan ergyd angau,
Ynot ti er dïoddeu 'r tân.

3 O am ganfod yn y gwynfyd
Dy wynebpryd hyfryd di!
Golwg eglur ar ein Harglwydd
Rydd hapusrwydd pur i ni;
Profi 'th gariad yn dragywydd
Fydd ein mawr lawenydd maith;
A'th glodfori di yn felus,
Fydd ein gorfoleddus waith.

## HYMN 4. M. C. C.

1 MAE rhyfeddodau gwerthfawr iawn
Mewn Trindod llawn tiriondeb;
Ni welir eu dyfnderoedd da
Hyd eitha' tragwyddoldeb.

2 Rhyfeddu i dragwyddoldeb maith
A fydd yr hirfaith orchwyl;
Wrth weled Duwdod yn y dyn,
Gwel'd Tri yn Un—mae 'n anwyl.

3 Wrth ystyr mawredd Tri yn Un,
Mae deall dyn yn pallu;
Erfyniaf nerth o fewn fy nydd,
Drwy gadarn ffydd i'w gredu.

## HYMN 5. M. N. 10au.

1 O RHODDWN glod i'r Bôd a wnaeth y byd,
I'r Tad a'r Mab, a'r Ysbryd Glân o hyd;
Mawl iddo boed yn ngogledd, dwyrain, de'.
A phawb trwy 'r byd, clodfored Frenin ne'.

2 Na fydded neb yn ol o ganmol Duw,
Mae 'n haeddu mawl di dawl gan bob dyn byw;
I'r Un yn Dri, a'r Tri yn Un o hyd,
Gogoniant fyth a fydd mewn nefol fyd.

## HYMN 6. M. H.

1 RHYFEDDOL a dirgelaidd yw,
Gweithredoedd a rhagluniaeth Duw;
Pa sant, gan hyny yn y Nef,
A gynnwys fyth ei Hanfod ef?

2 Nid yw 'r tri Pherson, yn dri Duw,
Un Hanfod anfesurol yw;
Y ddwyfol natur sydd o hyd
Yn perthyn i'r Personau i gyd.

3 Pob priodoledd sydd yn Nuw,
Pob enw ac addoliad gwiw,
Berthynant oll yn ddiwahân,
I'r Tâd, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân.

4 Derbyniwn y gwirionedd mawr,
Na's gallwn ei amgyffred 'n awr;
A moled pawb sy 'n meddu chwyth
Y Drindod bur anfeidrol byth.

## HYMN 7. M. C. C.

1 O PWY a ddichon ganu 'n ffraeth,
I'r Bod a wnaeth y bydoedd?
A seinio ei fawl, ryfeddawl faith
Yn nifyr iaith y nefoedd?

2 'R wyf fi 'n flinedig dan fy nghlwyf,
A gwanaf wyf o'r gweiniaid;
Ond nerthoedd cadarn cariad cu
A ddeil i fynu f' enaid.

3 'R wyf fi dan fynych, fynych fai,
Cloëdig mewn clai ydwyf;
Heb nerth y nef, bydd arnaf fèth,
Yn mhob rhyw beth a wnelwyf.

4 O Dad, dod i'm bob peth er llês,
A'i feddu 'n gynnes genyf;
A chadw 'r peth na 'm gwnelo 'n well,
Ymhell, ymhell oddiwrthyf.

5 Ti fuost im' yn Rhoddwr hael
Yn nghyflwr gwael marwoldeb;
I'th foli di, fy Arglwydd da,
Rhy fyr fydd tragwyddoldeb.

### HYMN 8. M. N. 8. 7.

1 Y JEHOFAH sy 'n teyrnasu
Yn ei allu ar bob llu;
Llywio mae o entrych nefoedd
I ddyfnderoedd uffern ddu;
Ef sy 'n peri 'r haulwen godi,
Ef sydd yn gwasgaru 'r gwlaw;
Deil y bydoedd gorlïosog
Oll yn ei alluog law.

2 Ef sydd yn dilladu 'r lili,
Ac Efe sy 'n porthi 'r brain;
Llefa 'r llewod ieuaingc arno,
Ac Efe sy 'n gwrando y rhai'n:

Pa faint mwy y ceidw Sïon?
  Hòuo ar ei galon sy;
Cyn y caiff ei blant newynu,
  Manna ddyry oddi fry.

3 Mewn trallodau na rwgnachwn,
  Cofiwn mai Efe sy 'n Dduw;
Ymfoddlonwn i'w ewyllys,
  Hyn yn ddilys gweddus yw;
Ymfoddlonwn i'w drefniadau,
  Ef ŵyr oreu beth sy 'n llês;
Am ein dwyn y mae yn dirion
  Trwy bob troion ato 'n nês.

## HYMN 9. M. C.

1 AR fôr tymhestlog teithio 'r wyf
  I fyd sydd well i fyw;
Gan wenu ar ei 'stormydd oll—
  Fy Nhad sydd wrth y llyw.

2 Drwy leoedd geirwon enbyd iawn,
  A rhwystrau o bob rhyw,
Y'm dygwyd eisoes ar fy nhaith—
  Fy Nhad sydd wrth y llyw.

3 Er cael fy nhaflu o dòn i dòn,
  Nes ofni bron cael byw;
Dïangol ydwyf hyd yn hyn—
  Fy Nhad sydd wrth y llyw.

4 Ac os oes 'stormydd mwy yn ol
  Yn nghadw gan fy Nuw,
Wynebaf arnynt oll yn hyf—
  Fy Nhad sydd wrth y llyw.

5 A phan bo 'u hymchwydd yn cryfhâu,
Fy angor sicr yw,
Y dof yn ddiogel trwyddynt oll—
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

6 I mewn i'r porthladd tawel clŷd,
O sŵn y 'storm a'i chlyw,
Y caf fynediad llon ryw ddydd—
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

## HYMN 10. M. C. C.

1 OS yw 'n gofidiau yn y byd
I bara hyd y diwedd,
O fewn y nef fe dderfydd hyn,
Troir tristwch yn orfoledd.

2 Po fwyaf gawn o wrês y dydd,
Mwy yno fydd y moliant;
Yn lle byr gystudd, mae yn ol
Dragwyddol bwys gogoniant.

3 Pryd hyn pereiddia Duw yn llon
Holl chwerwon ddyfroedd Marah;
Pryd hyn y trŷ pob chwerw nant
Yn wîn i blant Jehofah.

## HYMN 11. M. C. C.

1 DUW, o'i drugaredd, y'mhob man
A'r ran y gwan sy 'n gwenu;
Fe ddwg y Duw sy 'n gwrando cŵyn
Ei ŵyn yn fwyn i fynu.

2 Y cristion lleiaf ar ei daith,
Er bod yn faith yn fethiant:
Addfedir ef mewn anial dwys
I gynnal pwys gogoniant.

3 Fe wrendy Brenin Sïon fryn
Ei lef yn nglyn wylofain;
Ac un o'r gwarcheidwadol gôr
A enfyn Iôr i'w arwain.

4 Er bod credadyn ambell dro
Yn wylo mewn anialwch;
Ar fyr tu hwnt i'r byd o bla,
Fe rodia mewn hyfrydwch.

5 Mae 'n fraint adnabod Duw yn Dad,
Er goddef gwastad gystudd;
Os ar y Graig fy nhraed y gaf,
Canmolaf Naf yn ufudd.

HYMN 12. M. C.

1 DYFNDEROEDD anchwiliadwy yw,
Holl ffyrdd ein Duw i gyd;
A'i ddoeth ragluniaeth eglurhâ
Ei gyngor da bob pryd.

2 Na farna'th Dduw'n ol rhagfarn ddall,
Neu synwyr anghall dyn;
Ond cred ei air, ac erfyn hedd
Wrth orsedd Duw ei hun.

3 Nac ofna 'r cwmwl, Gristion gwan,
Sy'n duo rhan o'i wedd;
Dwg i ti lês, a daw i lawr
Yn gafod fawr o hedd.

4 Ymddiried yn ei râs a'i nerth
Trwy'th drafferth mawr ei rym;
Ei dirion wedd dirionaf fydd
Tu draw i'w gerydd llym.

HYMN 13. M. N. 8. 8. 6.

1 YN waeth na'm tyb y cês y byd,
Ei chwant a'i fwyniant oll ynghyd
Cês siomiant yn mhob man:
Trwy siom cyfeillion, cefais glwy',
Twyll calon ddu roes siomiant mwy,
Ond Duw sydd imi 'n rhan.

2 Wel, heibio i bob creadur byw,
A'r byd a'i fwyniant gwael a gwyw,
Ei ŵg a'i wên ynghyd,
Rhed, rhed, fy enaid, ato Ef,
Cofleidia drysor nef y nef,
'Wna lês pan losgo'r byd.

3 Os oes blinderau imi 'n 'stôr,
Fel fflamau llym, neu dònau 'r môr,
Mewn byd sy 'n llawn o bla;
'Wna'r dyfroedd ond fy ngwneud yn lân,
'Cha'i ond fy mhuro gan y tân,
Am hyn, pob peth yn dda.

HYMN 14. M. C.

1 TYDI wyt deilwng o fy nghân,
Fy Nghrëwr a fy Nuw;
Dy ddoniau o fy amgylch maent
Bob munud 'r wyf yn byw.

2 Mi glywa 'r haul, a'r lloer, a'r sêr,
Yn datgan dwyfol glod;
Tywynu 'n ddisglaer 'r wyt o hyd
Trwy bob peth sydd yn bod.

3 Dïolchaf am dy gariad cu,
Yn estyn dyddiau f' oes;
Dïolchaf fwy am un a fu,
Yn gwaedu ar y groes.

4 Diolchaf am gysuron gwiw
Wyf beunydd yn fwynhâu;
Diolchaf fwy am Brynwr hoff
I mi gael llawenhâu.

HYMN 15. M. C.

1 HOLL amgylchiadau 'mywyd brau
Llwyr adwaen f' Arglwydd Dduw;
Ei gariad a'i ddoethineb Ef
A'm tywys tra b'wyf byw.

2 Aneirif ddoniau derbyn 'r wyf
O'i rasol, dadol law;
A llym geryddon—llesol glwyf,
Oddiwrtho Ef a ddaw.

3 Mewn cariad rhydd bob chwerw loes
Er bythol hedd i mi;
Ar ddull treialon denfyn Ef
Fendithion oddi fry.

4 Am hyn clodforaf enw 'm Duw
Trwy holl dröadau 'r llawr;
Gan godi 'r groes tra byddwyf byw
I ganlyn f' Arglwydd mawr.

HYMN 16. M. N. 148.

FY enaid at dy Dduw, fel gwrthddrych mawr dy grêd.
1 Trwy gystudd o bob rhyw, a phrofedigaeth rhêd:
Caf ganddo Ef gysuron pur
I ddwyn y groes, pob loes a chur.

2 Melus fel diliau mêl, a maethlon eu hiachâd
Yw holl geryddon nef, a gwïalenodiau 'Nh-

Pob croes, pob tòn, pob awel gref,
Sydd yn addfedu 'r saint i'r nef.

3 Melusach tŷ fy Nhad, ar ol y dymestl fawr;
Po mwya'r croesau gaed, bydd hawsach gado'r llawr;
O hyfryd gwel'd fydd yn y màn
Pob bryn a ddringais i i'r làn.

4 Ni phery ddim yn hir y ddu dymestlog nôs,
Ni threfnwyd oesoedd maith, i neb i gario 'r groes;
Mae'r hyfryd wawr sy'n codi draw
Yn d'weyd fod boreu teg gerllaw.

## HYMN 17. M. N. 7. 6.

1 MEWN hedd, fy enaid, gorphwys yn dawel nôs a dydd,
Y Duw a'th bortha 'n wastad yn agos atat sydd;
Hyd yma'r hwn a'm daliodd, byth ni ddiffygia Ef;
Bydd foddlon i lywodraeth, rhagluniaeth ddoeth y nef.

2 Efe a wnaeth y bydoedd, ac Awdwr bywyd yw;
Yr hwn sydd werthfawrocach na'r byd a'i berlau gwiw:
A gwallt ein pen bob blewyn, rhag syrthio 'r un ar goll,
Gan Iesu 'n ddirgeledig, ynt gyfrifedig oll.

3 Am hyn paham gofalwn am bethau gwael y byd,
Nad ydynt ond oferedd a gwagedd oll i gyd?
Fe ŵyr ein Harglwydd tirion am ein hangenion maith,
Rhydd ini'r hyn fo'n eisiau, tra pery dyddiau'n taith.

4 Ein gofal pènaf beunydd tra byddom tan y nef
Yw ceisio'r deyrnas nefol, a'i bur gyfiawnder Ef,
A'n dwyn i'r llawn drigfanau, lle na bydd eisieu 'n bôd,
Ond seinio yn wastadol i Dduw dragwyddol glôd.

## HYMN 18. M. C.

1 'RWY'N wael fy ngwedd, a du fy lliw,
Nid ydyw 'mriw 'n gwellhâu;
Af at y Meddyg mawr ei fri,
Sy 'n gadarn i iachâu.

2 Af dan fy nghlwyfau ato 'n nes
I gael fy esmwythâu;
Mae Ef, os afiach ydwyf fi,
Yn gadarn i iachâu.

3 Er bod y pen yn glwyfus oll,
A'm harcholl yn dyfnhâu;
Crist yw y meddyg dâl i mi,
Mae 'n gadarn i iachâu.

4 Y gwànaf un o'r gweiniaid wyf,
Dan bwys fy nghlwy'n llesghâu;
Ond nerth a rydd i rai dirym;
Mae 'n gadarn i'm hiachâu.

5 Rhyw dòn ar dòn, a chroes ar groes,
Fy einioes sy 'n tristâu;
Er hyn nid anobeithiaf ddim;
Mae 'n gadarn i'm hiachâu.

## HYMN 19. M. C.

1 NIS gall angylion pur y nef,
A'u doniau aml hwy,
Fyth osod allan haeddiant llawn
Yr Iesu glân a'i glwy'!

1 Dioddefodd angau dygn boen,
A gofir tra fo 'r nef:
Fy nerth, fy nghyfoeth, a fy mraint,
A'm noddfa lawn yw Ef.

3 Mae ei ffyddlondeb fel y môr,
Heb fesur, ac heb drai;
A'i drugareddau hyfryd sy'n
Drag'wyddol yn parhâu.

4 Mae yn ei haeddiant bethau mwy
Nâ fedd y byd yn un;
A phrawf o'i gariad ydyw 'r fraint,
Orucha' gafodd dyn.

## HYMN 20. M. N. 8. 7.

1 CARIAD dwyfol, hedd tragwyddol,
Llawnder nefoedd, tyr'd i lawr!
Ynom gwna dy drigfan ddedwydd,
C'rona dy fendithion mawr!
Iesu 'r wyt yn llawn tosturi,
Cariad pur yw 'th enw gwiw;
Tyr'd i lawr i'n llwyr waredu,
Llanw ni â chariad Duw.

2 Iôr anfeidrol, tyr'd i'n gwared,
Gâd i'n bawb fwynhâu dy hedd,
Yn dy demlau boed gorfoledd
Bythol am gael gwel'd dy wedd.
Boed ein gwaith o hyd dy foli,
A'th was'naethu gyda blâs,
Yn ddibaid, mewn mawl a gweddi
Fyth am gariad Iesu a'i râs.

3 Gorphen y gre'digaeth newydd,
Difrycheulyd gâd i'n fod;

Gwel'd ein cyflawn iachawdwriaeth,
Yn yr Iesu mawr yn bod;
Myn'd o radd i radd o ogoniant,
Nes cyrhaeddyd uwch y nen,
Yno byth dadseiniwn foliant
'R Oen fu farw ar y pren.

## HYMN 21. M. C.

1 AGORWYD ffynnon i'n glanhâu
Gan Iesu frenin Nef;
A'i ffrydiau 'i olchi ffwrdd ein bai,
Trwy rym ei gariad ef.

2 Llawenydd sydd i lawer un
Oherwydd agor hon;
Mae lle i minnau lawenhâu
Bod i mi groesaw llon.

3 A minnau ganaf tra f' wyf byw
Am rinwedd gwaed yr Oen;
Ond mi gaf ganu cyn bo hir
Mewn rhyw felusach tôn.

4 'R wy 'n credu caf fi delyn aur,
Annheilwng er fy mod;
Ddarparodd Iesu er fy mwyn,
I seinio 'n glir ei glod.

## HYMN 22. M. C.

1 MAE 'r iachawdwriaeth fel y môr,
Yn chwyddo byth i'r lan;
Mae ynddi ddigon, digon byth,
I'r truan ac i'r gwan.

2 Mae ynddi drugareddau hael
I'w cael yn ddinacâd;

A phob bendithion yn ystôr
Tragwyddol eu parhâd.

3 O dyma gyfoeth gwerthfawr llawn,
Uwch holl drysorau 'r llawr;
A röed i gadw oll nghyd
Yn haeddiant Iesu mawr.

4 Mae 'n rhoi trysorau pèna 'r nef,
I'r tlotaf rai sy 'n bod;
Mae pob cyflawnder ynddo Ef—
Diderfyn fydd ei glod.

5 'Ddiffygiaf ddim, er c'yd fy nhaith,
Tra pery grâs y Nef;
Ac er cyn lleied yw fy ngrym,
Mae digon ynddo Ef.

HYMN 23. M. C.

1 CYFLAWNDER nerth, cyflawnder grâs,
Cyflawnder nef y nef,
Uwch deall Seraphim, a Saint,
Sy'n trigo ynddo Ef.

2 Mae ynddo 'i hunan drysor mwy
Nag 'fedd yr India lawn;
Fe brynodd imi fwy na 'r byd
Ar groesbren un prydnawn.

3 Yn mhob rhyw ddoniau mae yn fawr,
Anfeidrol yw ei rym;
Ac nid oes pwysau ar ei râs,
Na 'i haeddiant dwyfol ddim.

4 Mi ymddigrifaf yn ei râs
Mewn cystudd ac mewn gwae;
A byddaf lawen yn fy Nuw,
Ei gariad sy 'n parhâu.

## HYMN 24. M. N. 8. 7.

1 AR dymhorau o ofidiau,
Tro'f fy wyneb at fy Nuw;
Pan bo 'nghalon bron ymollwng
Dan helbulon o bob rhyw:
O eithafoedd pella 'r ddaear
Llefaf, Arglwydd, arnat ti;
Am dy gymmorth i fy nhywys
I y Graig sydd uwch na mi.

2 Pan y delo fy ngelynion,
Fel rhyw afon greulon gref,
I ddifadu f' enaid egwan,
O gysuron pur y nef;
Gwaeddaf ar yr Iesu tirion,
A fu farw ar Galfari,
Am fy nhywys yn ddïogel,
I y Graig sydd uwch na mi.

3 Pan yn ymchwydd yr Iorddonen,
Yn sŵn gwyllt ryferthwy 'r lli,
Melus ganaf, er mor eiddil,
Ar y Graig sydd uwch na mi:
Ac mi roddaf hèr, heb ofni,
I alluoedd uffern ddu,
Pan fo 'm traed yn llwyr ddïogel
Ar y Graig sydd uwch na mi.

4 Pan af adref at y teulu,
Teulu dedwydd Had y Wraig;
Rhai fu 'n yfed yn yr anial
Ddwfr i'w llòni ddaeth o r graig;
Yn mhlith miloedd dirifedi,
Minnau unaf gyda 'r llu,
I foliannu byth heb dewi
Am y Graig sydd uwch na mi.

### HYMN 25. M. C.

1 PAN sycho 'r moroedd dyfnion maith,
Pan syrthio sêr y nen;
Yr Hwn fu farw, ac sydd fyw,
Ar Sïon fydd yn Ben.

2 Ei enw bery tra bo haul,
Yn glodfawr byth y bydd;
Ac ni bydd diwedd ar ei glod
I dragwyddoldeb ddydd.

3 Bendithion rif y tywod mân,
A gwlith y ddaear lawr,
Yn nghadw i'r ffyddloniaid sydd
Byth yn eu llarglwydd mawr.

4 Aed enwau 'r byd i gyd yn ddim,
Dyrchafer Brenin Nef;
Mae pob cyflawnder, grâs, a nerth
Yn trigo ynddo Ef.

### HYMN 26. M. H.

1 NEWYDDION braf a ddaeth i'n bro,
Hwy haeddent gael eu dwyn ar go',
Fod Iesu wedi cael y dydd,
Caiff carcharorion fyn'd yn rhydd.

2 Bu Ef yn blaid wrth raid i ni,
Tywalltodd trosom waed yn lli;
Trwy rinwedd hwn fe 'n dwg yn iach
I'r Ganaan bur 'mhen gronyn bach.

3 Cawn yno seinio 'i glod a sôn
Am fawredd rhinwedd gwaed yr Oen;
Er canu 'n uwch ac uwch i gyd,
Yn is na 'i haeddiant bydd o hyd.

## HYMN 27. M. C.

1 CYDGANWN ag Angylion glân
O flaen yr orsedd mwy;
Tafodau fyrdd sy 'n seinio cân,
Ond un eu testun hwy.

2 Teilwng yw 'r Oen, byth, medd y rhai'n,
O'r clod, y parch, a'r bri;
Teilwng yw 'r Oen, atebwn sain,
A'i waed Fe 'n prynodd ni.

3 Efe sydd deilwng byth i gael
Pob urddas, nerth, a chlod:
Bendithion fyrdd i'n Harglwydd hael,
Byth, byth, a fyddo 'n bod.

4 Cydganed nef a daear lawr
Glodforedd pêr diboen,
I'r Hwn sydd ar yr orsedd fawr,
A mawl dilyth i'r Oen.

## HYMN 28. M. N. 7. 6.

1 O IACHAWDWRIAETH gadarn, o drefniad Duw ei hun;
Fu dyfais a'i chyffelyb erioed mor dda i ddyn;
Fe roes ei fywyd trosom, beth all Ef ballu mwy?
Mae myrdd o ryfeddodau difesur yn ei glwy'.

2 'N ol edrych ar ol edrych, o gwmpas imi mae
Rhyw fyrdd o ryfeddodau, newyddion yn parhâu:
Pan bwy'n rhyfeddu un peth, peth arall ddaw i'm bryd
O iachawdriaeth rasol, rhyfeddol yw i gyd!

## HYMN 29. M. C.

1 CYDUNWN â'r Angylion fry,
Ein tannau yn gytûn;

Deng mil o filoedd yw eu cân,
Er hyn nid yw ond un.

2 Os ydyw'r Oen fu farw'n sail
Eu holl ganiadau hwy;
Mae 'n haeddu, am farw trosom ni,
Ein mawl mil miloedd mwy.

3 Efe yn unig bïau 'r mawl
Drwy ddwyfol hawl ddilyth;
A chlod uwchlaw a allwn ni
Ei roddi iddo byth.

4 Cyduned pob creadur byw
Uwchlaw ac îs y nen;
I roddi ynghyd, can's teilwng yw—
Y goron ar ei ben.

## HYMN 30. M. H.

1 O RHODDWN glod i'r Iesu mawr,
Yr hwn sy 'n awr yn entrych Nef;
Er mor oruchel yno yw,
Efe a glyw anghenog lef.

2 Ein Llywydd mawr, tosturio mae,
Pob cur a gwae am danynt gŵyr;
Oddiwrth ein blin ysbrydol bla,
Ef a'n gwellhâ a'i waed yn llwyr.

3 Ef yw ein Duw a'n Ceidwad da
Tawelu wna 'n gofalon ni;
Pan ruo 'r môr, pan guro 'r dòn
Ei heddwch llòn ostega 'r llì.

4 O rhoddwn glod i'r Iesu mawr,
Yr hwn sy 'n awr yn entrych nef;
Mae yno'n Gymmwynaswr hael,
A gweddi 'r gwael a wrendy Ef.

## HYMN 31. M. N. 8. 7.

1 NID eill moroedd mawrion llydain
Guddio pechod o un rhyw;
Ac nis gallodd dylif cadarn
Foddi hwn, mae 'n awr yn fyw:
Gwaed yr Oen fu ar Galfaria,
Haeddiant Iesu glân a'i glwy',
Ydyw'r môr lle caiff ei guddio,
Byth na welir mo'no mwy.

2 Ef yw 'r Iawn fu rhwng y lladron,
Dyoddefodd farwol loes;
Nerthodd freichiau ei ddïenyddwyr,
I'w groeshoelio ar y groes;
Ac wrth dalu yno 'n dyled,
Anrhydeddu deddf ei Dad,
Hardd ddysgleirio 'r oedd Cyfiawnder;
Ninnau 'n rhydd trwy 'r cymmod rhad.

## HYMN 32. M. N. 8. 8.

1 FE 'M llanwyd â syndod yn llwyr
Wrth chwilio dirgelion y Tad;
Nid angel na seraph a ŵyr
Eithafoedd diderfyn ei râd:
Pwy bwysa 'r dyoddefaint ar bren,
Neu haeddiant yr Iesu a'i loes?
Tra yma, neu fry, uwch y nen,
O canwn am haeddiant ei groes.

2 Y gallu, 'r anrhydedd, a'r clôd,
Y moliant, a'r parch yn gytûn,
O'r nefoedd a'r ddaer gaiff fôd,
Yn gyfan i'n Harglwydd ei hun:

Aed sôn am rinweddau ei waed
  Trwy barthau y ddaear i gyd;
Helaethed terfynau ei râd
  Tros ëang eithafoedd y byd.

## HYMN 33. M. C.

1 PE cawn y ddaear im' fy hun,
  A'r ëang fydoedd fry,
Heb gael dy râs, O Dduw, a'th Hun,
  Truenus fyddwn i.

2 Llafuried eraill am y byd,
  Rhoent arno 'u serch bob dydd;
I mi rho wedd dy wyneb pryd,
  A digon, digon fydd.

3 Cyfeillion, cyfoeth byd, pe cawn,
  A rhoddion fwy na mwy;
Rhoi diolch it' am danynt wnawn,
  Ond nid fy Nuw ynt hwy.

4 Rhyw flinder chwerw 'n canlyn sydd
  Y pethau goreu eu rhyw;
Nid gwir foddlonrwydd un peth rydd,
  'Does dim fel Ti, fy Nuw.

## HYMN 34. M. H.

1 YNGHANOL pob trallodion maith,
  A' ninnau'n egwan ar ein taith,
O Arglwydd da, amlyga di
Mai digon yw dy râs i ni.

2 Pan fyddo fydd yn mron llesghâu;
Ofn a thywyllwch yn ymgau,
Dal ni i fynu, a dangos di
Mai digon yw dy râs i ni.

3 Pan fyddo 'n calon ynfyd wan
Yn hyn o fyd yn ceisio rhan:
Dwg ni yn ol, a dangos di
Mai digon yw dy râs i ni.

4 Pan godo nwydau, blinion bla,
Ni feiddiwn sôn am galon dda:
Dy nerth mewn gwendid dyro di,
Can's digon yw dy râs i ni.

5 Nid y'm yn haeddu dim o'th râs,
Ond haeddu cosp am bechod câs;
Ond dirfawr yw dy gariad di,
A digon yw dy râs i ni.

6 A phan y delo angeu du,
Bydd ini 'n gymmorth ar bob tu:
Trwy 'r dyffryn tywyll dangos di
Mai digon yw dy râs i ni.

## HYMN 35. M. C.

1 RHOWN glod a mawl i'r Iesu mâd
Mewn Haleluia lân;
Dyfnderoedd maith ei gariad rhâd
Sydd hyfryd destyn cân.

2 O pwy all beidio rhoddi clod
Yn rhwydd i'r addfwyn Oen?
'D oes derfyn byth i'w fawl yn bod,
Caiff glod yn bêr ddi-boen.

3 Dros waelion rai o ddynol-ryw
Bu farw 'r Cyfiawn Un;
Rhyfeddwn mwy ei aberth gwiw,
O'i fodd fe rodd ei Hun.

4 Teilwng yw 'r Oen yn nef y nef
O bob rhyw barch a bri;
Ei râs a'i enw hawddgar Ef
A lanwo 'n daear ni.

## HYMN 36. M. H.

1 NID dim o'r byd tu yma 'r bedd
Rydd ini hir sylweddol hedd:
Nid dim islaw 'r ffurfafen lâs
Ddiwalla 'n rhaid, ond Duw a'i râs.

2 Rhy dlawd yw 'r holl gre'digaeth hon
I roddi llawn foddlonrwydd llon;
Ein hunig wir ddedwyddwch yw,
Tragwyddol deg dangnefedd Duw.

3 Pe meddwn fydoedd hardd eu drych,
I gyd yn well nag Eden wych;
Fy enaid anfoddlonai 'n drist,
Heb rasol bresennoldeb Crist.

4 Neb yn y nef ni feddaf fi,
Fy Nhad, am Duw, neb ond Tydi;
Ar degwch dy wynebpryd cu
Y gwleddaf fi 'n dragwyddol fry.

## HYMN 37. M. N. 7. 6.

1 ANGYLION doent yn gyson, rifedi gwlith y wawr,
Rhoent eu coronau auraidd o flaen y faingc i lawr:
Chwareuant eu telynau ynghyd a'r saint yn un;
Fyth fyth ni chanant ddigon am Dduwdod yn y dyn.

2 O foroedd o ddoethineb oedd yn y Duwdod mawr!
Cyfranai 'n hael ei gariad i bryfed gwael y llawr;
A gwneuthur i'w drugaredd, a'i dostur maith ynghyd,
I redeg megys afon lifeiriol dros y byd.

3 O gariad heb ei gymmar! a dyna 'r testyn sy
Yn llanw holl ganiadau angylaidd sanctaidd lu;
Anfeidrol râs rhyfeddol! pe mûd y byddai dyn,
Fe seiniai 'r holl gr'edigaeth yn ddïau trwyddi 'n un.

## HYMN 38. M. N. 10au.

1 HOLL natur doed, a'i nerthoedd oll yn awr
I ddatgan clod ein mwyn Waredwr mawr;
Yr awyr glir, a'r cyfan dan y rhôd,
Y môr a'r tir, datganent oll ei glod.

2 Dechreued sain Seraphiaid yn y nef,
Ddadseinio 'n llu ger bron ei orsedd Ef;
Cyweirient eu telynau oll yn un,
I ganu clod i'r Duwdod yn y dyn.

3 Doed mawr a bach o îs a gwaelach rhyw,
Rhoent glod a mawl i ganmol enw Duw;
Down ninnau i gyd, o eithaf byd heb wâd
I'w foli 'n faith am iachawdwriaeth râd.

4 Ar dir na môr, ei debyg, gwn, nid oes,
Seraphiaid pur, ni thraethant byth ei oes:
A dringo wnaf trwy nerth ei râs o'm gwae,
Nes caffwy 'n glir, ei weled fel y mae.

## HYMN 39. M. N. 11au.

1 Y CLOD, y gogoniant, y gallu o bob rhyw
A redo fel moroedd i enw fy Nuw;

Y dechreu a'r diwedd, o'r ddaear i'r nef
O râs ac o haeddiant, yn gyfan yw Ef.

2 Mae enw fy Arglwydd mor anwyl, mor fawr,
Hyfrydwch y nefoedd, hyfrydwch y llawr;
Ni dderfydd ei garu, ni dderfydd ei glod
Tra byddo y nefoedd a'r bydoedd mewn bod.

3 Mae 'n bryd ini ganu, ni gawsom y fraint,
Mae 'r rhyfel yn cerdded o ochr y saint;
Gan hyny dechreuwn, mae 'n ddigon o bryd,
I ganu caniadau i Brynwr y byd.

## HYMN 40. M. N. 7. 6.

1 PA le, pa fodd dechreuaf foliannu 'r Iesu mawr?
Olrheinio 'i râs ni fedraf, mae 'n llenwi nef a llawr,
Anfeidrol ydyw 'n Ceidwad, a'i holl drysorau 'n llawn,
Diderfyn yw ei gariad, difesur yw ei ddawn.

2 Trugaredd a gwirionedd yn Nghrist sy 'n awr yn un,
Cyfiawnder a thangnefedd ynghyd i gadw dyn:
Am Grist a'i ddioddefiadau, rhinweddau pur ei glwy';
Bydd seinio pêr ganiadau i dragwyddoldeb mwy.

3 O diolch am Gyfryngwr, Gwaredwr cryf i'r gwan!
O caffwyf wir adnabod, fy Mhriod a fy Rhan!
Fy ngwisgo â'i gyfiawnder yn hardd ger bron y Tad,
A derbyn o'i gyflawnder, wrth deithio 'r anial wlad.

### HYMN 41. M. B.

1 GRAS! sain tra pheraidd yw
I 'nghlustiau bob rhyw bryd:
Mae 'n llenwi 'r llawr a'r nefoedd wiw
Yn gwbl oll i gyd.

2 Grâs drefnodd ffordd ddigoll
I wared euog fyd;
Gweithredoedd iachawdwriaeth oll,
O râs maent hwy i gyd.

3 Grâs drôdd fy nhraed yn wiw
I deithio 'r ffordd i'r nef;
A chymmorth beunydd gaf gan Dduw
Tra pwyswyf arno Ef.

4 Grâs a gorona 'r gwaith
Trwy oesoedd rif y gwlith;
A'r saint trwy dragwyddoldeb maith
A seiniant fawl dilyth.

---

## GENEDIGAETH CRIST.

### HYMN 42. M. C.

1 Y BOREU hwn trwy bura' hedd,
Gwir sain gorfoledd sydd:
Ymhlith bugeiliaid gwael eu bri,
Cyn iddi dòri 'r dydd.

2 Gwrandawed pob pechadur gwan,
Sy 'n plygu gan ei bla;
Angylion nef â'u llef yn llon,
Sy 'n dwyn newyddion da.

3 Yn Methl'em Juda, dyma 'r dydd,
Doe 'r newydd da o'r ne';
Duw ymddangosodd yn y cnawd,
Ein Brawd, yn dlawd ei le.

4 Y dwylaw bach sy 'n dal y byd,
Yn fud ar lin ei fam;
Yn newydd eni, a nawdd i ddyn,
Yn hŷn nag Abraham.

5 Rhyfeddwn byth tra fyddwn byw,
Ddaioni Duw i ddyn;
Yr Iesu 'n aberth 'roes i ni,
Trwy nodded Tri yn Un.

## HYMN 43. M. C. C.

1 FE roddwyd Mab yn rhâd i ni,
Ei enw sy 'n Rhyfeddol;
Ar ysgwydd hwn llywodraeth gaed,
Duw cadarn, Tad tragwyddol.

2 Chwilio ei Berson hardd a'i waith
Sydd orchwyl maith anfeidrol;
Mae ar y llawr ac yn y ne',
Ei enw E 'n Rhyfeddol.

3 Deonglwch hyn, ddysgedig rai:
Rhyfeddu mae 'r cenhedloedd—
A all'sai Mair ei gynnwys Ef,
Na chynnwys Nef y Nefoedd?

4 Yr Hen Ddihenydd yn ddyn gwan
Mewn preseb dan ei rwymau;
Y Gair tragwyddol ar lin Mair,
Heb fedru gair o'i enau.

5 Mae holl ddoethineb Duw ynghyd
Yn cwrddyd yn ei Berson;
Nid rhyfedd fod y nefol lu
Yn ei ryfeddu 'n gyson.

### HYMN 44. M. N. 8. 7.

1 O DDIRGELWCH Mawr duwioldeb!
Dyfnder iachawdwriaeth yw!
Duw y duwiau wedi ymddangos
Yn ngwael natur dynol ryw:
Dyma 'r Person a ddioddefodd
Yn ein lle ddigofaint llawn;
A chyfiawnder waeddodd, "Gollwng
Ef yn rhydd, mi gefais Iawn!"

2 Dyma 'r brawd a anwyd ini
Erbyn c'ledi a phob clwy';
Ffyddlawn ydyw, llawn tosturi;
Haeddai gael ei foli 'n fwy:
Rhyddhâwr caethion, meddyg cleifion,
Ffordd i Sïon union yw;
Ffynnon loyw, bywyd meirw,
Arch i gadw dyn yw Duw.

### HYMN 45. M. H.

1 DAETH Iesu Grist i fyd oedd dlawd,
O'i uchel fri i'r gwaela 'n frawd:
Ufuddol oedd, "Rhyfeddol" yw,
Efe yw Ceidwad dynol ryw.

2 Er bod tan groes ei oes o hyd.
Heb fawr o barch gan fawrion byd:
"Cynghorwr" doeth a gwir Fab Duw;
Efe yw Ceidwad dynol ryw.

3 Rhoed cospedigaeth greulon gri
Ar D'wysog nef o'n hachos ni;
Ein Tŵr, ein Nawdd, "Duw Cadarn" yw;
Efe yw Ceidwad dynol ryw.

4 Ca'dd yn y byd orthrymder mawr,
Bu Ef heb le i roi ben i lawr:
Er hyn, "Tad Tragwyddoldeb" yw;
Efe yw Ceidwad dynol ryw.

5 Bererin gwael! esgynodd fry,
Mae heddyw 'n dadleu ar dy du;
"Tywysog pob Tangnefedd yw;"
Efe yw Ceidwad dynol ryw.

## HYMN 46. M. N. 11. 10.

*Seren y Dwyrain.*

1 LOYWAF o'r Sêr sydd yn britho 'r ffurfafen,
Gwasgar y t'wyllwch, a gwawried y dydd:
Seren y dwyrain, rhagflaenydd yr Haulwen,
Dwg ni i'r fan lle mae 'r Baban yn nghudd.

2 Gwelwch mor isel ei ben yn y preseb,
Oerwlith fel perlau 'n disgleirio ar ei gryd:
Moled angylion, mewn llettŷ cyn waeled,
Brenin, Creawdwr a Cheidwad y byd.

3 'Dalwn ni iddo y goreu o'n trysor,
Llysiau o Edom yn offrwm i'n Duw?
Gèmau o'r mynydd, a pherlau o'r dyfn-fôr,
Myrrh o'r anialdir, ac aur o Periw?

4 Ofer ag aur mynem brynu 'i fendithion,
Ofer ag anrheg orhardd-deg a hael;
Gwell ganddo gywir addoliad y galon:
Gwell gan yr Iesu yw gweddi y gwael.

HYMN 47. M. N. 148.

1 PROPHWYDI pur un iaith, fu'n llefain
is y rhôd,
Gan dd'weyd am amser maith, Mae Duw,
mae Duw yn d'od:
O bell trwy wydr-ddrychau ffydd,
Y gwelodd Abraham ei ddydd.

2 Hosanna heddyw sydd, caed dydd llawenydd
mawr,
Daeth Duw, daeth Duw heb gudd, fu 'r llef
cyn tòri 'r wawr:
Ewch gwelwch Ef yn Faban byw
Mewn preseb ŷch, drych rhyfedd yw!

3 Ar blant y gollfarn gaeth, tywynodd gwawr
is nen;
I'r byd eich Ceidwad daeth, oedd cân llu
nefoedd wen:
Deffrôwn, a chanwn ninnau 'n awr
Yn uwch na gwynion feibion gwawr.

4 Hedd i bechadur trist, oedd sail y nefol gân,
Fe anwyd Iesu Grist, i ni yn Geidwad Glân:
Gogoniant yn y nefoedd fry;
Tangnefedd ar y ddaear ddu.

---

MARWOLAETH CRIST.

HYMN 48. M. N. 148

1 YN Iesu Grist a'i groes mae 'n heinioes a'n
holl hedd;
Mwy hyfryd yw na neb, ei wyneb Ef a'i wedd
Cawn gysur dan bob cur a loes,
Yn nghysgod angeu, angeu 'r groes.

2 Ein Dinas noddfa yw i ffoi rhag dig y Nef;
Cyfiawnder pur ein Duw foddlonwyd ynddo Ef:
Ei wyrthiol waith a'i werthfawr waed
Sydd yn ein dwyn i hedd â'i Dad.

3 Aberthau Aaron gynt, nid oeddynt yn mhob oes,
Ond gwael gysgodau i gyd o aberth drud y groes:
Nid oes ond gwaed y groes o hyd,
Sy 'n golchi bai o gylch y byd.

4 Mor ddwfn trueni dyn! un iawn na dawn nid oes,
A ddichon ein hiachâu, ond angeu, angeu 'r groes:
Gan hyny yn uwch, ac uwch o hyd,
I'r Iesu glân bo 'r gân i gyd.

HYMN 49. M. N. 8. 7.

1 CAFWYD digon: wŷn, gorphwyswch,
Lloi a bychod, ciliwch draw;
Gorphwys Sïon, daeth dy Brynwr,
Do, a digon yn ei law:
Duw neillduodd Oen ei fynwes,
I gymmeryd arno 'n bai;
Rhoddodd drosom Iawn, oedd ddigon,
Ni thalasai aberth llai.

2 Try y galar yn llawenydd,
Pan y cofir am ei loes;
Colyn angeu ni wna niwed,
Lle taenellir gwaed y groes:
Dan ei gysgod mae tawelwch,
A diddanwch byth i'w gael;
Hedd ddylifa fel yr afon
Yno i bechadur gwael.

## HYMN 50. M. N. 8. 7. 4.

1 CLYWCH, leferydd grâs a chariad
O Galfaria 'n seinio sydd;
Wele 'r oedyrn greigiau 'n hollti,
Haul yn t'wyllu ganol dydd; [mawr.
Fe orphenwyd, &c., dwys ddolefai'r Meichiau

2 O'r trysorau anchwiliadwy,
A gynnwysir yn y gair!
Môr diderfyn o fendithion
I dylodion ynddo gair;
Fe orphenwyd, &c., ni bydd eisieu aberth mwy.

3 Adgyweirier pob rhyw delyn,
Trwy y ddaear faith a'r nef,
Er cyd-daro 'r anthem newydd,
Heddyw a ddechreuodd Ef:
Fe orphenwyd, &c. dyma gân na dderfydd byth.

## HYMN 51. M. N. 7. 6.

1 WRTH edrych ar yr Iesu, yn marw trosm ni,
Rhyw fyrdd o ryfeddodau, ganfyddaf o bob tu:
Pan un peth wnaf ryfeddu, peth arall ddaw i'm bryd;
O iachawdwriaeth rasol, rhyfeddol yw i gyd!

2 Mi welaf yn ei fywyd y ffordd i'r nefoedd fry,
Ac yn ei angeu 'r taliad, a roddwyd trosom ni;
Yn ei esgyniad gwelaf drigfanau glân y nef;
A'r wledd dragwyddol hyfryd gawn yno gyd ag Ef.

## HYMN 52. M. H.

1 GORPHENWYD! medd ein Prynwr mawr,
A'i fywyd roes o'i fodd i lawr:

Gorphenwyd! do, fe gaed y dydd,
Fe dalwyd Iawn, daw 'r caeth yn rhydd.

2 Gorphenwyd cynghor Duw heb goll,
Y ddeddf a'r addewidion oll:
Cyflawnwyd nôd y rhai'n i gyd,
Yn Iesu, Prynwr mawr y byd.

3 Gorphenwyd! clywch y gair i gyd,
O hyfryd sain! amgylcha 'r byd:
Gorphenwyd! aed yr adsain lon
Trwy nef y nef a'r ddaear gron.

## HYMN 53. M. N. 113.

1 NIS gall angylion nef y nef
Fynegi maint ei gariad Ef;
Mae angeu 'r groes yn drech na 'u dawn:
Bydd canu uwch am Galfari
Nag glywodd yr Angylion fry,
Pan ddelo Salem bur yn llawn.

2 Trwy 'r nef y trysor pènaf yw
Anfeidrol rinwedd gwaed fy Nuw,
Holl sylwedd y caniadau i gyd;
A'r gwaed a roddodd berffaith Iawn
I eithaf llym gyfiawnder llawn
Yw 'm hedd a'm cysur yn y byd.

3 Boed oesoedd meithion fwy na mwy,
Heb rif, na darfod arnynt hwy,
I ganu am ei ddirfawr boen:
Na thawed tafod o un rhyw,
Na dim o dan y nef sy 'n byw,
Ond sôn am goncwest addfwyn Oen.

4 Mae yn ei glwyfau drysor drud
I faddeu beiau pèna 'r byd
O flaen yr orsedd buraf sydd:
Ni all euogrwydd yno ddim,
Fe gyll melldithion Sinai 'u grym;
Maddeuant perffaith garia 'r dydd.

## HYMN 54. M. B.

1 A I am fy meiau i
Dioddefodd Iesu mawr?
Pan ddaeth yn ngrym ei gariad Ef
O entrych nef i lawr.

2 Cyflawnai 'r gyfraith bur,
Cyfiawnder gafodd iawn;
A'r ddyled fawr, er cymmaint oedd,
A dalodd Ef yn llawn.

3 Bu 'n angeu i'n hangeu ni,
Wrth farw ar y pren;
A thrwy ei waed y dygir llu
Trwy angeu i'r nefoedd wen.

4 Pan grymodd Ef ei ben
Wrth farw yn ein lle,
Agorodd ffordd, pan rwygai 'r llen
I bur drigfanau 'r ne'.

5 Gorchfygodd uffern ddu,
Gwnaeth ben y sarph yn friw;
O'r carchar caeth y dygir llu
Trwy râs i deulu Duw.

HYMN 55. M. N. 148.

1 'DOES hyd na lled yn bod, ar Aberth mawr
y groes,
Na phwysau chwaith na rhi', ni ddaw, ni fu,
nid oes:
Anfeidrol yw uwch deall dyn,
'D oes ŵyr ei faint ond Duw ei hun.

2 Er cànu myrdd yn wyn, o'r euog aflan rai,
Ei haeddiant Ef er hyn, nid yw un gronyn llai:
Diderfyn yw, i Dduw bo 'r clod,
'D oes trai na llanw iddo 'n bod.

3 Holl gỳrau 'r ddaear trowch, edrychwch tua 'r
groes,
Ein gobaith yno i gyd, o hyd hyd derfyn oes:
Yn ymchwydd yr Iorddonen ddu
Yn angeu 'r groes mae 'n hangor cry'.

HYMN 56. M. N. 7au.

1 WELE gariad Nefoedd wen
Yn disgleirio ar y pren;
Wele 'r haul yn duo 'i wedd,
Pan fu farw Brenin hedd.

2 Dyma daledigaeth lawn,
I ofynion trymion iawn;
Iesu gollodd ddwyfol waed,
Ninnau gawsom wir iachâd.

3 Ti dy hunan, Iesu mawr,
Yw fy noddfa ar y llawr,
Gad i'm gael dy gwmni cu
Cyn myn'd i'r Iorddonen ddu.

4 Maddeu 'meiau oll yn rhâd,
Golch fy enaid yn dy waed;
Yna deuaf ger dy fron,
Heb ddychrynu gan y dòn.

## HYMN 57. M. C.

1 FEL ffynnon lawn yw rhinwedd gwaed
Pryniawdwr mawr y byd,
Lle caiff pechadur mwya' gaed
Ei gànu 'n wyn i gyd.

2 Bu dda i'r lleidr ar y groes
Ei chaffael yn ei ddydd;
Maddeuwyd holl bechodau 'i oes,
A'i enaid aeth yn rhydd.

3 A dagrau ar ei ruddiau 'n lli
Edrychodd arni 'n llon:
Ac er mor frwnt ag ef wyf fi,
Caf lwyr lanhâd yn hon.

4 Er pan ar ffrwd dy glwyfau glân
Y cefais olwg ffydd,
Dy gariad rhyfedd fu fy nhgân,
A'm cân hyd angeu fydd.

5 Caf yna ganu 'n hyfryd, gwn,
Am werth dy waed a'th hedd;
Pan byddo 'r tafod bloesgaidd hwn
Yn ddistaw yn y bedd.

---

## ADGYFODIAD A DERCHAFIAD CRIST.

## HYMN 58. M. N. 7au.

1 HEDDYW c'ododd Crist o'r bedd, Haleluia,
Awdwr ein tragwyddol hedd, Hal.
Wedi 'n prynu a'r y pren, Hal.
I feddiannu 'r Nefoedd wen, Hal.

2 Talodd Ef ein dyled mawr, Hal.
Rhyddion ydym ninnau 'n awr, Hal.
Do, fe 'sigodd Had y wraig, Hal.
Uffern ddu, a phen y ddraig, Hal.

3 Fe bwrcasodd Iesu 'n rhâd, Hal.
A'i rinweddol werthfawr waed, Hal.
Deyrnas nefoedd deg i ni, Hal.
O mor ddrud ein braint a'n bri! Hal.

## HYMN 59. M. C.

1 BENDIGAID foreu teg ei wawr,
Daeth Iesu mawr o'r bedd,
Ca'dd fuddugoliaeth gyflawn gu,
O'r carchar du ei wedd.

2 Er gorwedd mewn distawrwydd dro,
Yn mro marwolaeth brudd:
Ein Prynwr Nefol codi wnaeth,
Pan ddaeth y trydydd dydd.

3 I'th enw mawr, ein Harglwydd mâd,
Dyrchafwn ganiad hy',
A seiniwn oll Hosanna 'n rhydd,
Am ddydd ein Harglwydd cu.

4 Anfarwol glod, a nefol fawl
I'n gwych fuddugawl Dduw:
Rhoed daear lawr, a'r Nefoedd fry,
Wych glod i'r Iesu gwiw.

## HYMN 60. M. N. 8. 7.

1 GWEINIAID Sïon, pam y cwynwch?
Deuwch a chydseiniwch gân;
Crist eich Brenin, trwy farwolaeth,
Gafodd fuddugoliaeth lân;

Methodd angeu ei orchfygu—
Cadw 'r Iesu yn y bedd;
Adgyfododd mewn prydferthwch,
Gyda heddwch yn ei wedd.

2 Wele mewn gorfoledd gwiwlon
Gyda mawl angylion mâd;
Ein Gwaredwr a esgynodd,
Uwch y nefoedd at ei Dad:
Yno 'n eistedd ar ei orsedd,
Mewn anrhydedd, uchel yw;
Cysur dibaid i'r ffyddloniaid
Dwg y gweiniaid ato i fyw.

3 Dyrchafedig yw 'r Messïah,
Byth ni theimla ing na chlwy';
Dychryn uffern yw ei enw,
Fry y mae uwch marw mwy;
Yn mhlith miloedd maith yn moli,
Iesu sy 'n teyrnasu 'n Ben;
Iddo cân telynau 'r nefoedd.
Yn oes oesoedd, byth, Amen.

HYMN 61. M. N. 148.

1 CYFODODD Brenin Hedd, Iachawdwr dynol-ryw,
Mewn gogoneddus wedd, o'r marwol fedd yn [fyw:
Ein bywiol Ben esgynodd fry
Gorwch pob llu tu draw i'r llen.

2 O rwymau 'r angau caeth, yn rhydd y daeth Mab Duw;
Gorchfygu 'r bedd a wnaeth, mewn buddugoliaeth wiw;
Derbyniodd Ef bob gallu mawr,
Trwy 'r ddaear lawr yn awr a'r nef.

3 Daw saint o lwch y bedd, ar wedd eu Prïod cu,
I lawn dragwyddol wledd, mewn gwir orfoledd
Dyrchafant draw o'r dyfnder cudd, [fry ;
Cânt dd'od yn rhydd, mae 'r dydd gerllaw.

4 Pan losgo 'r ddaear lawr, a'i mawredd o bob
rhyw ;
Fe genir am yr awr, daeth Ef o'i fedd yn fyw :
Bydd cof am hon gan ddisglaer lu,
Aneirif fry, fyth ger ei fron.

## HYMN 62. M. N. 8. 8.

1 PWY welaf o Edom yn d'od,
Mil harddach na thoriad y wawr,
Yn sathru tan wadn ei droed
Elynion yn lluoedd i'r llawr ;
Ei wisg wedi ei lliwio â gwaed,
Ei saethau a'i gleddyf yn llym ;
Ei harddwch yn llenwi 'r holl wlad,
Yn ymdaith yn amlder ei rym ?

2 Myfi, 'r hwn wyf Alpha cyn byd,
Wyf gadarn i ladd ac iachâu ;
Fy ngeiriau a safant i gyd
Pan ballo ffyddlondeb pob rhai :
Ond pa'm mae dy wisgoedd yn waed,
A'th gleddyf cyn goched ei fin ;
Fel un a f'ai 'n sathru tan draed,
Y gwinwryf yngwinllan y gwin ?

3 Wrth weled y fyddin mor fawr
Dan arfau yn llawnion o lid ;
Yn llanw holl wyneb y llawr
Y bobl giliasant i gyd :

Gadawyd fi 'n unig heb ail,
 I sefyll yngwyneb fy nghâs;
Gelynion cyn amled a'r dail
 Yn llanw holl gyrau y maes.

4 Mi godais i fynu fy llaw,
 Ymleddais, ennillais y dydd.
Fy holl waredigion a ddaw,
 Am caethion a roddir yn rhydd;
Ennillais fath goncwest trwy waed,
 Mae genyf lywodraeth mor fawr;
Hyd eithaf trigfanau fy Nhad
 Mae 'n cyrhaedd o'r nefoedd i'r llawr.

HYMN 63. M. N. 7. 6.

1 YR Hwn, gan ing fu 'n chwysu, y gwaed yn ddafnau mawr;
Efe fu gynt yn trengu, yn nghrôg rhwng nef a llawr;
Y corph fu gynt yn gorwedd yn fud mewn distaw fedd,
Sydd heddyw yn teyrnasu mewn gogoneddus wedd.

2 Y T'wysog mawr gyfododd, heb ofn, na braw, na brŷs,
Adeiniog lu y nefoedd a'i dygent Ef i'w lŷs;
Dyrchefwch, Byrth, dyrchefwch, agorwch, ddrysau draw,
A Brenin y Gogoniant, i'w nefol lŷs a ddaw.

3 Nid preseb, ac nid croesau, nid bedd a dirmyg mwy;
Nid llefain cryf, na dagrau; nid chwys, na chlais na chlwy';
Gogoniant ar ogoniant, 'n ol dioddef îs y nef,
Anrhydedd ac addoliant, a roddir iddo Ef.

## HYMN 64. M. C.

1 DYRCHAFER enw Iesu cu
Gan seintiau îs y nen;
A holl aneirif luoedd nef,
Coronwch Ef yn Ben.

2 Angylion glân sy 'n gwylio 'n gylch
O ddeutu 'r orsedd wen;
Gosgorddion ei lywodraeth gref,
Coronwch Ef yn Ben.

3 Hardd lu 'r Merthyri sydd uwchlaw
Erlyniaeth, braw na sen;
A llafar glod, ac uchel lef,
Coronwch Ef yn Ben.

4 Yr holl Brophwydi 'n awr sy 'n gwel'd
Y Meichiau mawr heb len;
A'r Apostolion yn gyd lef,
Coronwch Ef yn Ben.

5 Pob perchen anadl yn mhob man
Dan gwmpas haul y nen—
Ar fôr a thir, mewn gwlad a thref,
Coronwch Ef yn Ben.

## HYMN 65. M. N. 113.

1 BYW yw ein Brenin cadarn cu,
Ei enw llawn sydd uwch pob llu;
Mae uffern ddu yn ofni ei wedd:

Cyfodi yn ei urddas wnaeth;
Pa le mae 'th golyn, Angeu caeth?
  Pa le mae 'th fuddugoliaeth Fedd?

2 Tywysog Sïon, ffyddlon yw,
Er iddo farw, 'n awr mae 'n fyw,
  Ac wrth y llyw yn trefnu 'n llawn:
Gorchfygodd angeu, brenin braw,
Mae 'r agoriadau yn ei law,
  Oddiwrtho daw pob grâs a dawn.

## HYMN 66. M. N. 8. 8. 6.

1 PAN ddel yr adgyfodiad mawr,
  Cawn godi o isel lŵch y llawr,
  I entrych awyr fry;
Oddiyno awn, mewn nefol hedd
I'r nefoedd wen mewn newydd wedd,
  I blith angylaidd lu.

2 Cawn esgyn fry trwy ryfedd fraint,
A boddi 'n sŵn ymhlith y saint,
  Mewn peraidd hyfryd gân:
Cawn seinio clod mewn nefol hwyl,
Heb flino byth ar gadw gwyl,
  I'n tirion Arglwydd glân.

## HYMN 67. M. N. 7au.

1 Y MAE 'r dydd yn dod i ben
  Y dyrchefir Brenin nen;
Clywir sain ei angeu drud
Yn ardaloedd pella 'r byd,
Fe bregethir Iesu a'i râs
Yn yr India ehang frâs.

2 Fe â sain yr udgorn clir
I'r gorllewin anial dir—
Deued gogledd, dwyrain, de'
I foliannu Brenin Ne';
Doed terfynau maith y llawr,
I ddyrchafu 'i enw mawr.

---

CRIST, SYLWEDD Y CYSGODAU, A'I SWYDDAU.

HYMN 68. M. C.

1 MAE Iesu Grist yn Brophwyd mawr,
Y mwya' yw i gyd;
Er maint ein t'wyllwch, wele wawr,
Crist yw goleuni 'r byd.

2 O Brophwyd mawr! i'w enw boed
Anrhydedd a mawrhâd;
Daeth a'r newyddion goreu erioed
Am iachawdwriaeth râd.

3 Datguddio mae ddirgelion ne'
Yn eu prydferthwch coeth;
Pwy sydd yn dysgu fel Efe?
Mae 'n gwneyd y ffol yn ddoeth.

4 Dwg fi, y ffolaf un a gaed,
O'r dwfn dywyllwch du,
Gâd imi eistedd wrth dy draed,
I wrando d' eiriau cu.

HYMN 69. M. N. 148.

1 FY Archoffeiriad mawr, yw 'r Arglwydd Iesu Grist,
F' Arweinydd doeth yw Ef, trwy fyd o drallod trist;
Ein ffyddlon Frawd, O ryfedd fraint!
A thrysor gwerthfawroca 'r saint.

2 Craig fawr yr oesoedd yw, ni syflir mo'no byth,
O dan ei chysgod gwiw, y caf fi wneyd fy nyth,
A thra bwyf yma îs y rhôd,
Efe ei hun a gaiff y clôd.

3 Bugeilio mae ei braidd, heb hepian nôs na dydd,
Un drwg nis gall y blaidd wneyd fyth i deulu 'r ffydd;
Ymlaen a ni, ac awn yn hy',
Trwy nerth ein Duw i'r nefoedd fry.

## HYMN 70. M. C.

1 PWY yw y Brenin rhyfedd hwn
A welir fel y wawr?
Ai Adda 'r ail—ai Ef yw 'r Oen
A ddaeth o'r nef i lawr?

2 Pen corph yr Eglwys, Duw a dyn,
Disgleirdeb delw 'r Tad;
A phob cyflawnder mawr ei werth
I'r euog ynddo 'n rhâd.

3 O Sïon, llawenhâ trwy ffydd,
Dy Brïod sydd yn Ben;
Mae pob awdurdod ganddo Ef
Ar orsedd nefoedd wen.

## HYMN 71. M. B.

1 BOED Iesu i'm o hyd
Yn dŵr, a tharian gref,
Rhag dyfais Satan a'i holl lid,
A'i saethau tanllyd ef.

2 Ac yn 'r Iorddonen fawr
Boed yno y 'ngrym y dòn
Yn Arch-offeiriad anwyl iawn
I'm dwyn y' mlaen yn llon.

3 Tangnefedd sydd i'r pell,
A'r agos ynddo Ef;
Mae croesaw 'n awr i dd'od y' mlaen,
Yn ëon tua 'r nef.

4 Yr Iesu ar y groes
A wnaeth y ffordd yn rhydd;
Mae rhyddid 'n awr i dd'od y'mlaen
Trwy 'r sancteiddiolaf ffydd.

## HYMN 72. M. H.

1 RHYW Wr—rhyfeddol Un yw Ef,
Sydd imi 'n Lloches gadarn gref;
Fel uchel Graig, fy nghysgod fydd,
Rhag marwol wrês y poethlyd ddydd.

2 Yr hynod Graig yw 'r Iesu cu
Sy 'n llawer uwch na 'r nefoedd fry;
O dano Ef y llecha' i 'n glyd
Yn mhob rhyw 'stormydd yn y byd.

3 Tarâw'd y Graig—mae ffrydiau hon
Yn oeri 'r llosgfa dan fy mron;
Tarâw'd y Graig, a'i dyfroedd pur
Yw 'm cysur yn yr anial dir.

## HYMN 73. M. H.

1 Y MANNA pur, y Golofn dân,
Yr Arch a'r Drugareddfa lân;
Y Dwfr o'r Graig, i'w gael bob pryd;
Yr Iesu ydyw 'r rhai'n i gyd.

2 Yr wyf am ffoi i'r noddfa glyd,
Sydd uwchlaw uffern, uwchlaw 'r byd;
Tan gysgod y cyfammod rhâd
A seliwyd gynt â'i werthfawr waed.

3 Wel, dyma 'r lloches oreu i gyd
Gaiff fod fy lloches ar bob pryd;
Heb un difyrwch îs y ne'
Ond caru ac edrych arno fe.

### HYMN 74. M. N. 8. 7.

1 DYMA Babell y cyfarfod,
Dyma gymmod yn y gwaed;
Dyma noddfa i lofruddion,
Dyma i gleifion Feddyg rhâd:
Dyma fan yn ymyl Duwdod
I bechadur wneyd ei nyth;
A chyfiawnder pur y nefoedd
Arno 'n gwenu 'n siriol byth.

2 Llesg bererin, gan ystormydd,
Cyfod d' olwg, gwel y wawr;
'R Oen yn gweini 'r swydd gyfryngol,
Mewn llaes-wisgoedd hyd y llawr;
Gwregys auraidd o ffyddlondeb;
Wrth ei odrau clychau 'n llawn;
Llwyr faddeuant i droseddwyr
Trwy ei ddrud anfeidrol Iawn.

### HYMN 75. M. N. 10au.

1 CYN llunio 'r byd, cyn lledu 'r nefoedd wen,
Cyn gosod haul, na lloer, na sêr uwch nen,
Fe drefnwyd ffordd ynghyngor Tri yn Un,
I achub gwael, golledig, euog ddyn.

2 Trysorwyd grâs, ryw annherfynol 'stôr,
Yn Iesu Grist, cyn rhoddi deddf i'r môr;
A rhedeg wnaeth bendithion arfaeth ddrud,
Fel afon gref, lifeiriol, dros y byd.

HYMN 76. M. N. 8. 7.

1 MELUS gofir y cyfammod
Draw a wnaed gan Dri yn Un;
Bythol syllir ar y Person,
Gym'rodd arno natur dyn:
Wrth gyflawni yr ammodau,
Trist hyd angeu 'i enaid oedd—
Dyma gân y glân nefolion
Draw i'r llen â llawen floedd.

2 Ffordd a drefnwyd cyn bod amser,
I ryddhâu o ddrygau 'r ddraig;
Mewn addewid gynt yn Eden,
Fe gyhoeddwyd Hâd y Wraig:
Ffordd i gyfiawnhâu 'r annuwiol,
Ffordd i godi 'r marw 'n fyw;
Ffordd gyfreithlawn i droseddwyr
I gael cymmod llawn â Duw.

3 Draw mi welaf ryfeddodau,
Dyfnion bethau Tri yn Un,
Cyn bod Eden ardd, na chodwm,
Grasol fwriad Duw at ddyn:
Ethol Meichiau cyn bod dyled,
Trefnu Meddyg cyn bod clwy';
Caru gelyn heb un haeddiant—
Caiff y clod tragwyddol mwy.

## HYMN 77. M. C.

1 MAE addewidion melus wledd,
Yn gyflawn ac yn rhâd,
Yn dy gyfammod pur o hedd,
Tragwyddol ei barhâd.

2 'R wyf finnau yn dymuno d'od
I'r wledd ddanteithiol frâs ;
Ac felly mi gaf seinio clod,
Am ryfedd rym dy râs.

3 O rhwyma fi wrth býst dy byrth,
I aros tra f' wyf byw
I edrych ar dy wedd a'th wyrth,
A'th foli di, fy Nuw.

4 Tydi fo 'm cymmorth parod iawn,
I'm cynnal ar fy nhaith ;
A thi dy hun fo 'm trysor llawn,
I dragwyddoldeb maith.

---

## HYMN 78. M. C. C.

### AM YR YSBRYD GLAN.

1 TYR'D Ysbryd Glân i'n c'lonau ni,
A dod d' oleuni nefol ;
Tydi wyt Ysbryd Crist, a'th ddawn
Sydd fawr iawn a rhagorol.

2 Llawenydd, bywyd, cariad pur,
Ynt oll dy eglur ddoniau ;
Dod eli llygaid, fel i'th saint,
Ac ennaint i'n gwynebau.

3 Ofer llafuriwn gyd â'n llais
Ag un rhyw gais i ganu ;
Heb feddu cymmorth d' Ysbryd di,
A chalon i dy garu.

4 O Arglwydd da, a gawn ni fod
Fyth mewn fath nychdod enaid?
Mor brin ein cariad atat ti,
A'th eiddo i ni 'n helaethed?

## HYMN 79. M. C.

1 DUW, anfon di yr Ysbryd Glân,
Yn enw Iesu mawr;
A'i weithrediadau megis tân;
O deued Ef i lawr.

2 Yn ol d' addewid fawr ei gwerth,
O tywallt oddi fry
Dy Ysbryd sanctaidd gyda nerth,
I weithio arnom ni.

3 Yn ol d' addewid, Iesu mawr,
Yr awrhon anfon di
Y gwir Ddyddanydd doeth i lawr
I aros gyda ni.

## HYMN 80. M. H.

1 O ARGLWYDD chwilia 'nghalon wael,
Moes imi hwyl dy Ysbryd hael;
I'm harwain yn dy ffyrdd o hyd,
Tua 'r nefol annherfynol fyd.

2 Os wyf fi 'n awr yn twyllo f' hun,
Heb ddim ond lliw, a rhith, a llun,
O grefydd ffurfiol heb ei grym,
Fy rhagrith lladd â'th gleddyf llym.

3 Os gau ddibenion ceimion, cudd,
Yn lledu eu gwraidd o'm mewn i sydd,
Neu drachwant cryf, neu lygredd câs;
Diwreiddia 'r rhai'n â'th ddwyfol râs.

4 O Arglwydd da, adnebydd di,
Fy nghalon ddrwg dwyllodrus i;
Disgleiria o'm mewn, marweiddia 'n awr,
A'th Ysbryd mwyn, fy mhechod mawr.

5 Sancteiddia 'm 'holl serchiadau i gyd,
Gwna fi 'n ysbrydol yn fy mryd;
O gwna fi byth tra yma 'n byw
Yn deml hardd i ti, fy Nuw.

6 Dod galon lariaidd, gywir, lân,
A blygo yn y llwch o'th flaen;
Nes cael y fraint o drigo fry
O fewn dy dêg frenhinol dŷ.

### HYMN 81. M. N. 8. 7. 4.

1 IESU r'odd addewid hyfryd,
Cyn ei fyn'd i ben ei daith,
Yr anfonai Ef ei Ysbryd,
I roi bywyd yn ei waith:
Heb yr Ysbryd, &c. nid yw neb yn eiddo Ef.

2 Mae digonedd cyflawn etto
Yn yr hen addewid wiw;
Ninnau 'n awr a gawn weddïo
Am ymweliad Ysbryd Duw:
O tywallter, &c. Ef yn helaeth arnom ni.

3 O Lân Ysbryd yr addewid,
Tyred yn dy ddawn di-lyth;
Mae dy râs yn hollalluog,
Gweithia 'n rymus yn ein plith.
Deffro d' eglwys, &c. achub, argyhoedda 'r byd.

## YR YRFA YSBRYDOL, GWEDDI, A CHYMDEITHAS A DUW.

### HYMN 82. M. C.

1 PERERIN ydwyf ar fy nhaith
Trwy faith derfysglyd fyd;
O dal fy ngolwg arnat Ti,
O Arglwydd mawr, o hyd.

2 Os daw trallodion rif y gwlith
I'm cwrddyd yn y byd;
O Arglwydd tirion, llechu wnaf,
O dan dy aden glŷd.

3 Tydi wyt darian f'enaid gwan,
Tra 'n bod ar dir y byw,
I fyned trwy 'r Iorddonen ddu,
O! cymmorth fi, fy Nuw.

4 O arwain fi drwy 'r afon ddofn
I wlad yr hyfryd wledd,
Lle caf yn gu emynu mawl
Mewn annherfynawl hedd.

### HYMN 83. M. N. 8. 7.

1 DEFFRO, f' enaid, rhed yr yrfa,
D' yrfa nefol, er mor faith;
Ti gei goron anllygredig,
'N ol cyrhaeddyd pen y daith:
Llais dy Dduw sy 'n galw arnat
O drigfanau 'r gwynfyd fry;
Llaw dy Dduw yn dala 'r goron,
Draw o flaen dy lygaid sy.

2 Tystion lawer sydd o'th amgylch,
Saint a phur angylion glân;

Ymaith â phob pwys a phechod,
Ac ymestyn fyth yn mlaen:
Rhed dy yrfa 'n amyneddgar,
Cadw 'th olwg ar y groes;
Cofia 'r Hwn, yn lle 'r llawenydd,
G'add bob cystudd, cur, a loes.

3 Diystyrodd Ef y gw'radwydd
Pan fu farw yn dy le;
Ar ei ben yn awr disgleiria
Coron bèna' Brenin Ne'.
Disgwyl wrtho am gynnorthwy,
Rhydd i tithau nerth yn rhâd;
I dir gwynfyd dwg yr Iesu
Bawb ddilyno ôl ei draed.

HYMN 84. M. N. 7au.

1 BETH sydd i mi yn y byd?
Gorthrymderau mawr o hyd;
Gelyn ar ol gelyn sydd
Yn fy nghlwyfo nôs a dydd:
Meddyg archolledig rai,
Dere 'n fuan i'm hiachâu.

2 O na allwn tra f'awn byw
Rodio bellach gyd â Duw:
Treulio f'oriau iddo 'n llwyr,
O foreu-ddydd hyd yr hwyr;
Canu am Iesu Grist a'i waed,
Nes meddiannu 'r Nefol wlad.

HYMN 85. M. N. 8. 7.

1 O AM nerth i dreulio 'm dyddiau
Yn nghynteddau tŷ fy nhad;
Byw yn nghanol y goleuni,
T'wyllwch obry tan fy nhraed:

Byw heb fachlud haul un amser,
Byw heb gwmwl, byw heb boen;
Byw ar gariad anfesurol,
Pur, y croeshoeliedig Oen.

2 Mae 'm cyfeillion wedi myned
Draw yn lluoedd o fy mlaen;
'Rhai fu 'n teithio ar y ddaear
Gyda mi i Salem lân:
Yn y dyffryn tywyll, garw,
Ffydd i'r làn a'u daliodd hwy;.
Mae addewid lawn i minnau,
Pa'm yr ofna f' enaid mwy?

3 Dyro olwg ar dy haeddiant,
Golwg ar dy deyrnas râd,
Brynwyd imi ac a seliwyd,
Seliwyd imi â dy waed;
Par im' gyrchu tuag ati,
Peidio byth a llwfrhâu;
Ar fy nhaith ni cheisiaf genyt
Ond yn unig dy fwynhâu.

## HYMN 86. M. C. C.

1 ER bod ein rhan tra ar y llawr
Mewn cystudd mawr yn digwydd;
Fe chwâl y nôs, cawn awyr glir,
A boreu o wir lawenydd.

2 Os sych a hesb yw Baca fro,
A blin yw teithio 'i lwybrau;
Er hyn pan gloddiom yn y fàn,
Daw gwlaw i lanw 'r llynau.

3 Rhedwn gan hyny 'r yrfa hon,
Gan syllu 'n llòn ar Iesu;

Amynedd caed ei pherffaith waith,
Mae pen ein taith yn nesu.

4 O nerth i nerth, o bant i fryn,
Nes gado glyn trallodion;
Ac uno â'r côr sy 'n llawenhâu
Ar siriol fryniau Sïon.

5 Cawn yno rodio glànau clir
Pêr afon bur y bywyd;
Mwynhâu ei dyfroedd dibrin, da,
Hyd hirfaith dragwyddolfyd.

6 Cawn seino mewn soniarus lef,
Nes dadsain nef y nefoedd;
"Teilwng yw 'r Oen," yw 'r anthem bur,
A genir yn oes oesoedd.

## HYMN 87. M. N. 8. 7.

1 DAN bob croesau ac helbulon,
O na fedrwn foddlon fyw;
Ac ymostwng tan driniaethau,
A threfniadau doeth fy Nuw:
O am garu 'r Arglwydd bellach,
Yn lle grwgnach am ei waith;
A'i arddelyd ef a'i ddilyn
Hyd yn nherfyn pen fy nhaith.

2 Tan y caddug a'r cymylau,
Yn y tost ofidiau tŷn,
Megys Jacob bydda' i 'n achwyn,
"Yn fy erbyn i mae hyn:"
Methu gweled mawr ddirgelwch,
Yn y t'wyllwch 'r wyf yn byw:
Methu d'weyd fel Job, yn ddiddig,
"Bendigedig fyddo Duw."

3 Mi ddymunwn trwy amynedd
Allu cyrhaedd profiad gwell;
Glynu wrth fy Nuw yn ddyfal,
Yn lle byw mewn anial pell;
Rhodio 'n llwybrau ei orch'mynion,
Barnu 'n union am ei waith;
Byw trwy râs er clod i'r Iesu,
Nes yn deg derfynu 'r daith.

4 Edyn amser sy 'n fy nghario,
Heb orphwyso dim o hyd;
Grym i lefain ar yr Arglwydd
Am addfedrwydd i'r ail fyd!
Teithio 'n ddiwyd tua 'r gwynfyd,
Lle mae bywyd hyfryd hir;
Tra bo 'r einioes heb derfynu,
Boed ein gweddi am y gwir.

5 Awn ymlaen ar hyd y llwybrau
Gerddodd Iesu ddyddiau 'i oes;
Ymladd raid â'r un gelynion,
Nid yw 'r goron heb y groes:
Nid gorphwyso yngwlad y pechu
Am fod Iesu 'n aberth hedd;
Rhaid milwrio dan ein harfau
Ennill gwlad â mîn y cledd.

## HYMN 88. M. C.

1 'RWY 'n morio tua chartre 'm Nêr,
Rhwng tònau maith 'r wy 'n byw;
Yn ddyn heb neges dan y sêr,
Ond 'mofyn am ei Dduw.

2 Mae 'r gwyntoedd yn fy nghuro 'n ol,
A mi nid wyf ond gwan;
O cymmer, Iesu, fi 'n dy gôl,
Yn fuan dwg fi i'r làn.

3 Na'd fi ar aswy nac ar dde'
I redeg o dy flaen;
Ond dilyn llwybrau Brenin ne'
Trwy ddyfnder dwfr a thân.

4 O gwna i'm calon redeg trwy
Oll atat ti dy hun;
Na bo difyrwch genyf mwy
Mewn daear, da, na dyn.

## HYMN 89. M. N. 8. 7. 4.

1 ARGLWYDD arwain trwy 'r anialwch
Wan bererin gwael ei wedd;
Nid oes ynof nerth na bywyd,
Fel yn gorwedd yn y bedd:
Hollalluog, &c. Ydyw 'r un a'm cwyd i'r làn.

2 Colofn dân rho 'r nôs i'm harwain,
A rho golofn niwl y dydd;
Tan bob croes a phrofedigaeth
Dyro nerth yn ol fy nydd:
Rho im' fanna, &c. Fel na bo i'm lwfrhâu.

3 Agor y ffynnonau melus
Sydd o'r graig yn tarddu 'n lli',
Afon beraidd grâs a bywyd
Fo o hyd i'm canlyn i:
Nid oes arall, &c. Rydd i'm fywyd ond Tydi.

## HYMN 90. M. C. C.

1 CHWI bererinion blant fy Nhad,
Tua 'r nefol wlad sy a'ch tynfa;
Mae 'r ffordd yn faith, na lwfrhâwn,
Cyfodwch, awn oddiyma.

## HYMN 94. M. N. 8. 7. 4.

1 TEITHIO 'r wyf trwy ddyrus anial
Tua Salem bur yn awr;
Rhaid im' gael o hyd fy nghynnal,
Onide mi sudda 'i lawr:
Iôr anfeidrol, &c. Dal fi â dy allu mawr.

2 Arglwydd dyro im' gael canfod
Goleu glân y golofn glir:
Dyna ddigon tan bob trallod,
Llewyrch yn yr anial dir; [bur.
Rho d'arweiniad, &c. Nes cyrhaeddyd Canaan

3 Wedi teithio trwy 'r anialwch,
Melus cyrraedd pen y daith;
Purdeb perffaith a diddanwch
Geir am dragwyddoldeb maith:
Moli 'r Brenin, &c. Yno fydd yr hyfryd waith.

## HYMN 95. M. C. C.

1 O ARGLWYDD dal fy enaid tlawd
Rhag syrthio 'n wawd cyhoeddol;
Dod nerth i godi ar bob awr
Groes Iesu mawr grasusol.

2 Gwna fi yn ffyddlawn yn fy oes,
Dan bob rhyw groes a chystudd;
Gan dreiddio trwy 'r anialwch maith
I'm nefol daith yn ufudd.

3 I'm cadw rhag pob gelyn cry'
Dy ofal sy 'n feunyddiol;
I dalu 'n ol dy gariad im',
Ni feddaf ddim sydd fuddiol.

4 Dan bob rhyw drallod îs y rhôd,
I'm henaid dod amynedd;
Fel yn dy winllan bob rhyw bryd
'Blodeuwyf hyd y diwedd.

## HYMN 96. M. C.

1 AT Un a wrendy weddi 'r gwan
'R wyf yn dyrchafu 'nghri:
Yn mhob cyfyngder, ing, a phoen,
O Dduw, na wrthod fi.

2 Er mor annheilwng o fwynhâu
Dy bresennoldeb di;
A haeddu marw ger dy fron,
O Dduw, na wrthod fi.

3 Pan fo 'm cydnabod îs y nen
Yn cefnu arnai 'n rhi';
A châr a chyfaill yn pellhâu,
O Dduw, na wrthod fi.

### RHAN II.

4 Er mwyn dy grôg, a'th angeu drud,
Ar fynydd Calfari;
A'th ddwys eiriolaeth yn y nef,
O Dduw, na wrthod fi.

5 Pan yn wynebu ymchwydd cry'
'R Iorddonen ddofn ei lli;
A theithio 'n unig trwy y glyn,
O Dduw, na wrthod fi.

6 A phan y deui yr ail waith
Mewn mawredd, parch a bri,
I farnu 'r byw a'r meirw ynghyd,
O Dduw, na wrthod fi.

HYMN 97. M. N. 8. 7.

1 NID yw 'r cyfoeth, nid yw 'r cyfan,
A feddiannaf yn y byd;
Ddim i'w gyfri 'n addas gyfran—
Ddim ond gwagedd oll i gyd;
A sancteiddrwydd a chyfiawnder,
Cyfoethoga f' enaid gwael;
Dyma 'r llwyddiant, dyma 'r llawnder,
Dyma 'r golud goreu i'w gael.

2 Rhag bydoldeb a chybydd-dod,
Arglwydd gwared fi o hyd;
Boed fy hyder am myfyrdod,
Ar drysorau 'r nefol fyd:
Gwell nag elw 'r holl gre'digaeth
Yw dy râs a'th hyfryd hedd:
O am feddu 'r etifeddiaeth
Ddidrangc, bur, tu draw i'r bedd!

HYMN 98. M. C.

1 ANADLA, f' enaid llesg, trwy ffydd,
Mae 'r ffordd yn rhydd at Dduw:
Mae grâs yn gymmorth hawdd ei gael,
A modd i'r gwael gael byw.

2 Tawdd y mynyddoedd mawr o flaen
Griddfanau gweddi 'r ffydd;
Chwâl ymaith bob rhyw gwmmwl du,
Try 'r nôs yn oleu ddydd.

3 O ganol ing, o eigion môr,
Mae 'n agor porth y nef:
O fòl y morfil mawr, yn wir,
Gwrandewir ar ei llef.

4 Mae yn gorchfygu gyda Duw,
Tosturiol yw Efe:
Mae 'n gwrando holl riddfanau 'r tlawd
Ar orsedd fawr y ne'.

## HYMN 99. M. C.

1 DUW mawr, o'r hwn y tardd pob da,
Edrychaf atat Ti;
Y'mhob rhyw drallod, gofid, pla,
O Arglwydd, cofia fi.

2 Pan f'wy 'n griddfanu tan drwm bwys,
Fy meiau dwys eu rhi',
Maddeua hwynt, o Arglwydd da;
Mewn cariad cofia fi.

3 Pan f'o gofidiau o 'nghylch yn cau,
A themtasiynau 'n llu;
Yn ôl fy nydd rho nerth, a dawn;
Yn raslawn cofia fi.

4 Os arnaf gwarth a dirmyg bydd
O herwydd d'enw di;
Cofleidiaf hwynt a llawenhâf
Os ti a'm cofi i.

5 Nesâu mae 'r awr pan âf yn syn,
I deithio 'r dyffryn du;
Y'ngafael angau llefain wnaf,
O Arglwydd, cofia fi.

## HYMN 100. M. H.

*Yr Awr Weddi.*

1 POB peth sydd dda rydd Dduw i ddyn
Er mwyn ei anwyl Fab ei hun;
Distawrwydd na adâwn i'n Duw,
Mae 'n dda i ni, awr weddi yw.

2 Os rhoes ei Fab i ni o'r nef,
Pob rheidiol ddawn gawn gyd ag Ef;
O byddwn daer o flaen ein Duw;
Addawodd roi, awr weddi yw.

3 Nesâu mae 'r dydd, bechadur gwael,
Na fydd awr weddi ddim i'w chael;
Cyn hir y daw dydd dïal Duw;
Ond heddyw 'n wir, awr weddi yw.

4 Fe ymddyrchâif i faddeu bai,
Disgwylia Ef i drugarhâu
Awn ato Fe, cawn etto fyw,
Mae 'n awr yn gwa'dd, awr weddi yw.

5 Tywyned 'n awr dy wyneb cu
Ar ordinhadau da dy dŷ;
Addolwn a chlodforwn di
Am roddi 'n awr awr weddi i ni.

## HYMN 101. M. C. C.

1 BU gweddi 'n dda i mi cyn hyn,
Mae 'n wastad yn fy nghodi;
Tra byddwyf yma 'n byw a bod,
Myfi arferaf weddi.

2 Pawb drosto ei hunan cyn bo hir;
Rhaid d'od, mae 'n wir, i gyfri';
Os arfer eraill gablu Nêr,
Myfi arferaf weddi.

3 Mi godais arfau 'n erbyn Duw,
Ces' ganddo fyw er hyny;
I'w erbyn mwy ni chodaf arf,
Gwell genyf arfer gweddi.

4 Yn nghanol adfyd, poen, a chri,
Fy Nêr wnaf fi addoli;
Nis bwrw allan neb o'i blant,
Y rhai arferant weddi.

5 Cydunwn bawb ag uchel lef,
Ei enw Ef i foli;
Mae Duw yn hoffi clywed llais
A gwrando cais ein gweddi.

## HYMN 102. M. C.

1 PECHADUR wyf, y pena 'n fyw,
Trugaredd yw fy nghri;
Gostwng dy glust, a'm llefain clyw;
O Arglwydd, cofia fi.

2 Y mae tosturi fel y môr,
Heb fesur ynot Ti;
O'th râs sy 'n annherfynol stôr;
O Arglwydd, cofia fi.

3 Boddlonodd Crist y nef yn llawn
Ar fynydd Calfari;
Er mwyn ei berffaith, ddwyfol Iawn,
O Arglwydd, cofia fi.

## HYMN 103. M. H.

1 GWIR fywyd yw cymdeithas Duw,
A'i heddwch Ef fy iechyd yw;
Cael gwedd ei wyneb yn mhob man,
Sydd well na 'r gwin i'm henaid gwan.

2 Dyddanwch sydd uwch golud byd
Yn wyneb cu fy Nuw o hyd;
Mwynhâu ei gariad yma 'n awr
Yw dechreu 'r nefoedd ar y llawr.

3 Tydi fy Nuw, Tydi o hyd
Yw 'm rhan a'm gwobr mawr i gyd;
Un llewyrch llon sy 'n llawenhâu
O'th hyfryd wedd, tan bob rhyw wae.

## HYMN 104. M. C.

1 GWELL ydyw, Arglwydd, prawf o'th hedd,
Na 'r byd na 'r bywyd chwaith;
Ac nid oes neb all dd'weyd ei werth
I dragwyddoldeb maith.

2 Nid ofnai 'r byd, nid ofnai 'r bedd,
Ond profi 'th hedd a'th rym;
Fy ofnau 'n llwyr, ond gwel'd dy wedd,
Ddiflanant oll yn ddim.

3 Os ar y llawr neu ar y làn
Y byddaf tan ryw loes;
Rho imi orphwys ymhob man
Gan syllu ar dy groes.

4 O Iesu, cymmer fi i gyd,
Fel mynech gâd i'm fod,
A threulio 'mywyd bob yr awr
Yn hollol er dy glod.

## HYMN 105. M. N. 7. 6.

1 NIS gallaf, Arglwydd, oddef dy absennoldeb di,
Pe byddai i ti ymado, darfyddai 'mywyd i:
Fy nghalon boed yn wastad yn agos at fy Nuw;
A Thi dy hun bydd agos i'm calon tra b'wyf byw.

2 Na foed i Ti fy ngadael, pan fyddwy 'n gado 'r byd;
Gad imi roddi f'ysbryd i'th freichiau ar y pryd:
Dy wenau ar fy ngwyneb, dy heddwch dan fy mron, [llon.
A wna i mi dramwyo trwy ddyffryn angeu 'n

## GAIR DUW.

### HYMN 106. M. N. 8. 7.

1 HWN yw gair y Duw tragwyddol
  O ysprydol, ddwyfol ddawn;
Perlau eglur, pêr rhywioglan,
  Gèmau Canaan yma cawn:
Creadigaeth, cwymp dynoliaeth,
  Prynedigaeth oaiaeth iawn,
Wneir yn eglur i bechadur
  Trwy 'r ysgrythyr, llythyr llawn.

2 Yma rhedo 'm myfyrdodau
  Ar drysorau goreu 'r gair;
Dawn ac iechyd i fy ysbryd,
  Grym a bywyd imi bair;
Mi anturiaf oll a feddaf
  Ar y gair cadarnaf gwiw;
Cwyd fi i fynu, ceidw f' enaid,
  Mae fy nodded yn fy Nuw.

### HYMN 107. M, N. 8. 7.

1 O MOR werthfawr yw 'r gair perffaith,
  Sydd yn d'od o enau Duw!
Gwych a dirfawr iachawdwriaeth
  Ynddo dardd: O, hynod yw!
Ni all miloedd o aur melyn,
  Na 'r trysorau goreu sydd,
Foddio 'r didwyll wir gredadyn,
  Fel diffuant air y ffydd.

2 Mae fe 'n para 'n fara peraidd,
  I ddigoni 'r enaid gwan;
Gwin a llaeth yw 'r gair i'r llariaidd,
  Mae 'fe i'r rhai'n yn ddirfawr ran;

O mor felus yw i filoedd,
Tan flinderau trymion trist!
Dengys i ni gyrau 'r nefoedd,
Dengys groeshoeliedig Grist.

3 O mor gyfiawn yw dy gyfraith,
A'th orch'mynion di, ein Duw!
O, mor hynod ac mor helaeth
Yw dy râs at ddynol ryw!
Llwydda dy efengyl beraidd,
A dinoetha fraich dy râs,
O, tywyned dy wirionedd,
Oll ar led y ddaear lâs.

## HYMN 108. M. N. 7, 6.

1 ADDEWID fawr y nefoedd, yn unig yw fy ngrym,
Tra b'wyf mewn anial dyrus, ar daith i Sïon fryn;
Addewid Duw yn unig yw 'm cleddyf dur a'm ffon,
A'm hangor, yn y tònau, im' dal i fynu 'n llon.

2 Fe gynnal yr addewid, y gwanaf dan eu baich
Sydd yn yr anial dyrus, mor rymus yw ei braich:
Un golwg ar yr Iesu, fu 'n gwaedu ar y groes,
Sy 'n tynu 'r baich gofidus, sy 'n dofi pob rhyw loes.

## HYMN 109. M. N. 8. 7.

1 CLOD i Dduw am ei Ysgrythyr,
Addysg gywir geir yn hon;
Nawdd i'r euog, grâs i'r aflan,
I'r anniddau heddwch llon:

Rhyddid llawn i'r caeth a'r llwythog,
I'r blinderog esmwythâd;
Ac i holl alarwyr Sïon
Y cysuron pura 'n rhâd.

2 Buddiol yw i athrawiaethu,
I geryddu anwir rai;
Mewn cyfiawnder i'n hyfforddi,
Ac i ddangos ini 'n bai:
Nodir ynddi ffordd y bywyd
I ochelyd uffern ddu;
Ffordd i'n dwyn trwy afon angeu
I drigfanau 'r gwynfyd fry.

3 Grâs i'w darllain, dyro, Arglwydd,
Ac i'w dysgu heb lesghâu;
Grâs i'w gwrando, ac i'w chwilio,
Ac i'm mewn ei gwir mwynhâu;
Fel y meddwyf hir amynedd,
A diddanwch dan y groes,
Ac am fywyd sy 'n anfarwol,
Obaith bywiol trwy fy oes.

---

### EGLWYS DDUW.

### HYMN 110. M. C. D.

1 FE welir Sïon fel y wawr,
Er gwaeled yw ei gwedd,
Yn dod i'r lan o'r cystudd mawr,
'Nol agor pyrth y bedd:
Heb glaf na chlwyfus yn eu plith,
Yn ddisglaer fel yr haul,
Yn y cyfiawnder dwyfol, pur,
A wnaed gan Adda 'r ail.

## Y GYFRAITH.

### HYMN 114. M. H.

1 MAE 'r gair yn bur, a'r ddeddf yn lân,
A Duw ei hun yn ysol dân;
A minnau 'n euog ger ei fron,
Heb nodded ar y ddaear hon.

2 Ond er mor chwerw 'nghyflwr gwael,
Mae golwg ar y groes i'w gael;
A'r Iawn roed yno un prydnawn,
Sy 'n dwyn tawelwch hyfryd iawn.

3 Mae yn ei waed rinweddau gwiw
I olchi 'm henaid du ei liw;
A phrawf o rîn maddeuol râs
Ddilëa 'm holl euogrwydd câs.

4 Pan gaf fy ngwneyd yn berffaith lân,
Pryd hyny perffaith fydd fy nhân
Caf roddi 'r goron ar ei ben,
Yr Hwn a'm prynodd ar y pren.

### HYMN 115. M. N. 8. 8.

1 WRTH gofio 'i riddfanau 'n yr ardd,
Ei chwys yn ddefnynau o waed;
Aredig ar gefn oedd mor hardd,
Ei daro â chleddyf ei Dad;
Ei arwain i Galfari fryn,
A'i hoelio ar groesbren o'i fodd;
Pa dafod all dewi am hyn!
Pa galon mor galed na thôdd!

2 Cyflawnwyd y gyfraith i gyd,
Fe ddofwyd ei llid heb fy lladd;
Cyfiawnder 'n ol hir ofyn iawn,
Ei daliad yn gyflawn a ga'dd;

Cyfiawnder a'r gyfraith sy 'n awr
Yn edrych i lawr yn ddi-lid;
Mae 'r prïodoliaethau mewn hedd,
Yn gwaeddi "Trugaredd" i gyd.

## HYMN 116. M. N. 8. 7. 4.

1 DAL fy llygad, dal heb ŵyro,
Dal ef ar d' addewid wir;
Dal fy nhraed heb gynnyg ysgog
Allan o dy gyfraith bur: [hedd.
Boed d' orchmynion, &c. imi 'n gysur ac yn

2 Ti 'sgrifenaist gynt ar gèrig
Ddeddfau cywir, sanctaidd, pur;
Nid anhawsach it' 'sgrifenu
Etto 'n awr ar galon ddur:
O darostwng, &c. f' anwireddau oll i lawr.

3 Rho 'r tymmerau a'r grasusau
Yn fy nghalon i ynghyd,
Roddaist i dy rai anwylaf,
Oll yn rhad er dechreu 'r byd: [o hyd.
Fel bwy 'n harddu, &c. gwir athrawiaeth grâs

## HYMN 117. M. N. 7. 6.

1 GOSODODD Duw ddeddf odiaeth, yn gyfraith berffaith bûr,
A sylwedd ei gofyniad sydd gariad yn ddigûr:
Mae 'n fanol ac ysbrydol, yn rheol i bob rhai;
Mae 'n pleidio pob daioni, mae 'n cospi am bob bai.

2 Yngwyneb deddf ddïysgog, rhai euog ydym ni
Yn rhwym i'w holl felldithion, a'i gwaeau chwerwon hi;

Rhoi iddi iawn nis gallwn, a byth ni haeddwn
hedd:
Yn ngafael deddf doredig, gwywedig fydd ein
gwedd.

3 Rhoes Crist anrhydedd perffaith i'r gyfraith
yn ddigoll;
Ei aberth a'i mawrhâodd, fe'i cwblhâodd oll:
Yn awr mae ffordd ardderchog i'r euog dd'od
yn rhydd; [sydd.
Ar bawb a grêd yn Iesu, y ddeddf yn gwenu

4 O Ysbryd pur, sancteiddiol, ofn duwiol dyro
di;
'Sgrifena'r gyfraith union, ar lêch fy nghaloni;
Boed imi rodio 'n rasol yn ol dy ddwyfol ddeddf,
Ac ynddi boed fy 'wyllys, yn felus, rymus
reddf.

---

AM LYGREDD DYN AC EDIFEIRWCH PECHADUR

HYMN 118. M. C.

1 DYN mewn anrhydedd is y nef
Ni safodd enyd awr;
Trwy anufudd-dod syrthiodd ef
O'i fawredd oll i lawr.

2 Fe dynodd felldith arno 'i hun,
Ac ar holl ddynol ryw;
O chwerw dro! trwy gamwedd un
Daeth barn ar bob dyn byw.

3 Daeth gwenwyn tost o ffrwyth y pren
Trwy dwyll y sarph i ni;
Ond drylliodd Had y Wraig ei phen
Ar groesbren Calfari.

## HYMN 119. M. C.

1 NID oes o fewn i mi i gyd
Ond beiau mawr eu grym:
Rhaid imi gael dy haeddiant drud,
Neu ynte fod heb ddim.

2 Y dyledswyddau goreu 'u rhyw,
Twyllodrus ynt a gwan:
Ac nid oes ond anfeidrol Dduw
A all fy nghodi i'r làn.

3 Af at ei orsedd fel yr wyf,
Anfeidrol orsedd grâs;
Dadguddiaf yno 'm gwrthun glwyf,
A'm holl archollion câs.

4 O maddeu 'mai, dilëa 'n llwyr
F' euogrwydd oll i gyd;
Ac na'd im' flino d' Ysbryd mwy
Tra byddwyf yn y byd.

## HYMN 120. M. H.

1 TRWY gamwedd un aeth dynol ryw
Tan gyfiawn farn digofaint Duw;
Yn Adda meirw ym i gyd,
Er cyn ymddangos yn y byd.

2 Ond os trwy anufudd-dod un
Y daeth marwolaeth ar bob dyn;
Trwy Un, a'i bur, ufuddol waith,
Daeth bywyd o gamweddau maith.

3 Yn mhell uwchlaw y camwedd câs,
Yr ymddyrchafodd dwyfol râs;
O herwydd trwy un trosedd caeth
Ar bob rhyw ddyn y farn a ddaeth.

4 Ond wele râs, rhyfeddol yw!
Oddiwrth gamweddau o bob rhyw
Yn rhoddi perffaith wir ryddhâd,
(O cofiwn hyn) a chyfiawnhâd.

## HYMN 121. M. C.

1 O DYMA newydd da i'r gwan,
Sydd beunydd dan ei boen,
Fod gwedd maddeuant, er ein mwyn,
Yn ngwyneb addfwyn Oen.

2 Mae 'n galw trwy 'r Efengyl bêr
Ar bawb yn dyner, 'Dewch:'
Nesêwch at aur gynteddau 'r Tad,
Trugaredd râd a gewch.

3 Anfeidrol ydoedd cariad pur
Penadur mawr y nef:
Llifeiriodd cariad rhad di-lys
O'i sanctaidd ystlys Ef.

4 Tydi 'r newynog yn ei oes
Sy 'n dwyn y groes [illegible]gri;
Ystyria 'n awr, os du yw [illegible]nôs,
Fod gwledd yn d'aros di.

5 Os dyffryn angeu 'n dywyll sydd,
Mae dedwydd ddydd yn d'od;
Fe gilia pob gelynol guwch,
Ceir hedeg uwch y rhôd.

## HYMN 122. M. N. 8. 7. 4.

*Y Trydydd Colect yn yr Adfent.*

1 CYN it' ddyfod gynt i drigo
Gyd a dynion, Arglwydd glân;
Ti ddanfonaist dy Genhadwr
I bar'toi dy ffordd o'th flaen:
Dyro heddyw, &c. i'th genhadon gyfryw râs..

2 Caniatâ i'th weinidogion,
A gor'chwylwyr da dy dŷ,
Lwyr arloesi ffordd it' etto
I galonau myrdd di ri':
Trwy droi 'r cyndyn, &c. i ddoethineb pur dy saint.

3 Yna ar dy ail ddyfodiad
I iawn farnu dynol ryw;
Caffer ninnau 'n gymmeradwy
Yn dy olwg, O ein Duw,
Trwy ryglyddon, &c. dy oddefaint ar y groes.

## HYMN 123. M. N. 8. 7.

1 WELE fi, bechadur aflan,
O ba rai y pèna 'n fyw;
Rhyfedd byth! fe drefnwyd pabell
Im' gael tawel gwrdd â Duw;
Yno mae yn llon'd ei gyfraith,
I'r troseddwr i gael gwledd;
Duw a dyn yn gwaeddi, "Digon"
Yn yr Iesu 'r Aberth hedd.

2 Mi af ato yn hyderus,
Aur deyrnwialen sy 'n ei law,
A'i hestyniad at bechadur,
Ni wrthodir neb a ddaw;
Af yn mlaen dan waeddi, "Pechais,"
Af, a chwympaf wrth ei draed,
Am faddeuant a thrugaredd,
Trwy ei werthfawrocaf waed.

3 Arglwydd, dyro galon imi
Fo 'n galaru am bob bai;
Nid oes drefn, na gobaith f' achub,
Heb im' wir edifarhâu;

'Rhai sy 'n profi duwiol dristwch,
Welir fry yn llon i gyd;
Pawb â'u dagrau wedi 'u sychu,
Pawb yn canu i'r Iesu 'nghyd.

## HYMN 124. M. H.

1 ADDEFAF fi fy mhechod câs,
Yn erbyn cyfraith Duw a'i râs;
Fy nrwg sydd fawr, er hyn nid yw
O gyrraedd gallu grâs fy Nuw.

2 O maddeu, maddeu di, O Dduw,
A gâd i edifeiriol fyw;
Pe troed dy lid i'm herbyn i,
Mi drengwn—cyfiawn fyddit Ti.

3 Fy enaid golch oddiwrth bob bai,
Glanhâ 'nghydwybod yn ddi-lai;
Mae baich euogrwydd mawr ar hon,
A'm beiau gynt sydd ger fy mron.

4 O Iesu yn dy waed y mae
Digonol rinwedd i'm glanhâu;
Ni wnai yr ebyrth gynt mo hyn;
Ond hwn a'm gylch fel eira gwyn.

## HYMN 125. M. H.

1 PWY draetha 'r fath lawenydd sy
Trwy holl gynteddoedd nefoedd fry?
Pan fyddo un afradlon ffôl
Yn dychwel at ei Dad yn ol.

2 Boddloni 'n llawen mae y Tad
Wrth weled ffrwyth ei gariad rhâd;
Edrycha 'r Mab yn llon i lawr
Ar bwrcas ei ddioddefaint mawr.

3 A hoffi gwel'd mae Ysbryd Duw
Yr enaid marw wnaeth E 'n fyw;
Ac yna 'mhlith angylion glân,
Am gynnydd grâs bydd newydd gân.

---

## MADDEUANT, FFYDD, A CHYFIAWNHAD.

### HYMN 126. M. N. 7. 6.

1 PECHADUR wyf, O Arglwydd, cyn euro wrth dy ddôr;
Erioed mae dy drugaredd yn fawr ddiderfyn fôr:
Er iti faddeu beiau rifedi 'r tywod mân,
Gwn fod dy hên drugaredd lawn cymmaint ag o'r blaen.

2 Wel dyma Un sy 'n maddeu pechodau rif y gwlith;
'D oes fesur ar ei gariad, na therfyn iddo byth:
Mae 'n 'mofyn lle i dosturio, mae 'n hoffi trugarhâu;
Trugaredd i'r amddifaid sydd ynddo yn parhâu.

3 Pa Dduw yn mhlith y duwiau sy 'n debyg i'n Duw ni?
Mae 'n hoffi maddeu beiau, mae 'n hoffi gwrando'n cri;
Nid byth y deil ddigofaint, gwell ganddo drugarhâu;
Er maint ein hannheilyngdod, mae 'i gariad yn parhâu.

## HYMN 127. M. N.

1 DUW mawr y rhyfeddodau maith,
Rhyfeddol yw pob rhan o'th waith!
Ond maddeu bai mwy rhyfedd yw,
Na 'th holl weithredoedd o bob rhyw.
*Pa Dduw sy 'n maddeu fel tydi,*
*Yn rhâd ein holl bechodau ni!*

2 O maddeu 'r holl gamweddau mawr,
Ac arbed waelion lwch y llawr;
Hyn yw dy nefol oruwch-nôd,
Ac ni chaiff arall ran o'r clôd.
*Pa Dduw, &c.*

3 O boed i'r grâs anfeidrol gwiw,
A'r gwrythiau mawr o gariad Duw,
Orlenwi ddaear faith â'th glôd,
Hyd nefoedd fry, tra bydd yn bôd.
*Pa Dduw, &c.*

## HYMN 128. M. C. C.

1 GADAWED y drygionus rai
Eu ffyrdd, a'u drwg feddyliau;
Dychwelant heddyw at eu Duw;
"Un parod yw i faddeu."

2 Mae Ef yn addaw yn ddi-ffael
Y bydd i'w gael yn foreu;
Plant bychain, clywch addewid Dduw;
"Un parod yw i faddeu."

3 Gwyr ieuaingc a gwyryfon cu,
Rhowch iddo eich dyddiau goreu;
Cyn pallo 'ch nerth, O ceisiwch Dduw;
"Un parod yw i faddeu."

AIL RAN.

4 Hynafgwyr pènau llwydion gwael,
Mae 'n bryd cael edifeirwch;
Penwyni pawb, heb Dduw a'i hêdd,
A syrth i'r bedd mewn tristwch.

5 Eich hir-ddydd grâs sydd yn hwyrhâu,
A nesu mae nôs angeu;
Ewch ato Fe, cewch etto fyw;
" Un parod yw i faddeu."

6 Gwrthgilwyr c'ledion, Oedwyr, clywch,
Nac anobeithiwch chwithau;
Duw yw Efe, a da ei fod
Yn barod eto i faddeu.

7 Ein calon a'n holl fywyd fo
Yn uno â'n geneuau,
I'w foli 'n fwy-fwy am ei fod
Yn barod eto i faddeu.

HYMN 129. M. N. 148.

1 NID oes un meddyg all, iachâu ein harcholl ni;
Ymhob rhyw un mae pall, O Iesu ! ond Tydi:
Am hyny cwympwn wrth dy draed,
Glanhâ, glanhâ ni 'n rhin dy waed.

2 Mawr gysur ini sydd, fod Iesu ar ein rhan,
Mae 'n dŵr y nôs a'r dydd, i bob pererin gwan:
Efe o hyd sy 'n fôr o hedd
I nofio 'n rhâd i wlad y wledd.

3 Tymhestloedd blin y byd, sy 'n curo 'r enaid gwan;
Eu twrf â heibio i gyd, daw 'n dawel yn y man;
Ceir meddiant rhâd o wlad y wledd,
Trwy haeddiant Crist mewn bythol hedd.

## HYMN 130. 8. 7. 4.

1 O AM ffydd i ffoi at Iesu,
Ac i bwyso ar ei Iawn;
Ffydd fo 'n fywiog yn gweithredu
Arno, mewn ymddiried llawn.
Pob cyflawnder, &c. sydd yn eiddo perchen ffydd.

2 Ffydd dan bob rhyw ragluniaethau
A weinydda gysur mawr;
Treiddia hon trwy dew gymylau,
Nes y cenfydd foreu wawr:
Boed fy rhodiad,&c. nid wrth olwg, ond wrth ffydd.

3 Bywyd sydd i'r holl gredinwyr,
Yn ddiogel byddant mwy;
Ond y rhai di-grêd a ddemnir,
Tan ddigofaint y maent hwy:
O am gredu, &c. yn y Mab heb oedi mwy.

## HYMN 131. M. H.

1 GAU obaith gwâg sydd gan bob dyn
Sy 'n seilio ar ei waith ei hun;
Wrth natur calon pawb sydd ddrwg,
Ffrwyth pur na gweithred dda ni ddwg.

2 Yr Iuddew a'r Cenhedlig ddyn
A orfydd tewi yn gytûn;
Ac eppil Adda o bob rhyw
Yn euog safant ger bron Duw.

3 Yn ofer ymgais dynol ryw
Eu cyfiawnhâu gan gyfraith Dduw:
Cyhoeddi barn ar bawb ynghyd,
Yw 'r hyn a all y ddeddf o hyd.

4 Grâs Iesu, O mor werthfawr yw,
Pan gredom yn ei enw gwiw;
Cyfiawnder sydd i'w gael trwy ffydd
Sy 'n cyfiawnhâu pechadur prudd.

## HYMN 132. M. H.

1 RHO im', fy Nuw, dy heddwch drud,
Er gwaetha' satan, cnawd, a'r byd;
A mynych brofi 'r hyfryd wledd
Sydd gan y saint tu draw i'r bedd.

2 Dysg imi beth yw byw trwy ffydd,
A rhodio wrth dy fodd bob dydd;
Dwg fi o râs i râs o hyd,
Nes imi fyn'd yn llwyr o'r byd.

3 Rho imi y fraint trwy râs i fyw,
A gwneyd pob peth er clod fy Nuw;
A chwedi gorphen hyn o daith,
Dy foli 'n nhragwyddoldeb ffaith. m

## HYMN 133. M. C.

1 GAN fod y ffordd i'r nef yn rhydd
Drwy ein Gwaredydd rhâd;
Gochelwn ni rhag bod yn ôl,
O'r lwys hyfrydol wlad.

2 Rhaid gwneud derbyniad yn ein dydd
O Grist trwy ffydd heb ffael;
Ac onidê mae bythol lid,
A gofid imi i'w gael.

3 Drwy ffydd yn Nghrist y'n cyfiawnheir,
Medd Duw 'n ei air i ni;
Tu yma a thu draw i'r bedd
Bydd hedd i'w pherchen hi.

HYMN 134. M. C.

1 FE 'm ganwyd i lawenydd uwch
Nag sydd ar ddaear wael;
I gariad dwyfol, gwlad lle mae
Anfeidrol wledd i'w chael.

2 Fy Nuw, rho imi ddechreu 'n awr
Fy nefoedd yn y byd;
A threulio 'mywyd mewn mwynhâd
O'th gariad gwerthfawr drud.

3 Tyn fy serchiadau 'n gryno i gyd
Oddiwrth wrthddrychau gau;
Ar ol y Gwrthddrych ag sydd fyth
Yn ffyddlawn yn parhâu.

HYMN 135. M. N. 7. 6.

1 ER bod y tònau 'n fynych, yn curo arna'i 'n awr,
A'r gwyntoedd croes yn chwythu, yn 'stormus ar y llawr: [rhyw,
Er dioddef blin gystuddiau, tlallodau o bob
Mae pob peth er daioni i'r rhai sy 'n caru Duw.

2 Er cael ergydion trymion, a chroesau aml ri',
Nes bron a pheri 'm weithiau dy lwyr anghofio Di;
Ond credaf yr addewid, caf nerth yn ol fy nydd,
A chymmorth fel bo 'r achos, ond imi fyw trwy ffydd.

3 Am hyny byth diolchaf, fy môd hyd heddyw 'n fyw; [wrth y llyw:
Er gwaethaf grym y gwyntoedd, fy Nhad sydd
Af bellach trwy 'r tymhestloedd, yn dawel yn ei law, [draw.
Nes delo 'r dòn ddiweddaf, im' taflu i'r porthladd

4 Yr Arglwydd sy 'n teyrnasu, gwnaf ynddo lawenhâu;
Fe geidw byth ei eiddo, yn nghanol byd o wae:
Effeithiau 'n llygrydedigaeth, yw 'r chwerwder blina 'i ryw;
Na fydded ini 'n ynfyd, roi dim yn erbyn Duw.

---

## SANCTEIDDIAD A DUWIOLDEB YMARFEROL.

### HYMN 136. M. N. 8. 7.

1 ARGLWYDD, dyro im' brofiadau
O rinweddau sancteiddhâd;
D' Ysbryd ynof fo 'n gweithredu
Er goleuni a glanhâd:
Cafwyd ffynnon ar Galfaria
I'r aflana', i'w lanhâu;
Boed i'w rhinwedd, Iôr bendigaid,
Buro f' enaid o bob bai.

2 Ni chaiff neb heb wir sancteiddrwydd
Wel'd yr Arglwydd yn ei hedd;
Rhaid ein puro a'n cymhwyso
I'n dwyn ato ar ei wedd;
O, gan hyny, Ysbryd grasol,
Cymmer fi, o'th nefol râd
I fy mharotôi yn weddus
I Baradwys, nefol wlad.

### HYMN 137. M. C.

1 O CYMMER fy serchiadau 'n glâu,
O Arglwydd, bob yr un;
A gwna hwynt yn breswylfa bur,
Sancteiddiaf it' dy hun.

2 Gwna i bob meddwl a phob chwant
Ddyrchafu i fynu fry;
Nes trechu holl derfysgau 'r byd
Gan rym dy gariad cu.

3 Ni wnaed yr enaid hwn erioed
I garu llwch y llawr:
Ond i gael meddu braint a roed
I gadw i'm Harglwydd mawr.

## HYMN 138. M. H.

1 GWIR dlodion yn yr yspryd yw
Holl rasol ddeiliaid teyrnas Dduw;
Cyfoethog at eu Duw mewn ffydd,
Ac mewn gweithredoedd da bob dydd.

2 Y rhai mewn bywyd sy 'mhob oes,
Trwy gadarn gred yn codi 'r groes;
Rhywogaeth etholedig, wiw,
A chenedl sanctaidd, dilys yw.

3 Nid dant am ddant, neu gâs am gâs,
Yw 'r drefn roes Crist i ddeiliaid grâs;
Nid dïal gwaed, na dala gwg;
Ond maddeu, a thalu da am ddrwg.

4 Blodeuant, ffrwythant yn ei dŷ,
A'u serch a'u hymarweddiad fry;
Eu trysor yn y nefoedd sydd,
Gan fyw ar bur wrthddrychau ffydd.

## HYMN 139. M. N. 8. 7.

1 YN hil Adda oll mae tuedd,
Trwy fawr lygredd drwg ei liw,
I ymofyn am hyfrydwch,
A dedwyddwch lle nad yw:

Ceisio mwyniant mewn marwolion,
Pethau gweigion, troion trist;
Byr o hyd o fod yn ddedwydd,
Tra heb grefydd Iesu Grist.

2 Crefydd bur sy 'n rhoi hyfrydwch,
Mawr ddifyrwch in' wrth fyw:
Melus yw yn mhob amgylchiad,
Brofi 'n dawel gariad Duw:
Tra mae yma 'n chwerw weithiau,
Gwlychu gruddiau dan y groes;
Prawf o rasol gariad Iesu
Wna felysu pob rhyw loes.

3 Boed gan hyny, im' ddifyru
F' oes yn caru 'r Iesu cu;
Dyma bleser, daeth o'i arfer
Elw lawer iawn i lu:
Sylwedd crefydd, O fy Arglwydd,
Yma beunydd imi boed;
Arnat dyro nerth i bwyso,
Arnaf delo fel y doed.

HYMN 140. M. N. 7. 6.

1 BOED ini â'n gwefusau a'n bywyd draethu i'r byd
Efengyl sanctaidd Iesu, ŷm ni 'n broffesu o hyd;
Disgleiried ein gweithredoedd, a'n rhinwedd o bob rhyw,
I brofi yr athrawiaeth, ei bod hi oll o Dduw.

2 Fel hyn y gallwn oreu, gyhoeddi oll ar led,
Anrhydedd ein Hiachawdwr, ger bron y rhai digred;
Pan fyddo 'r iachawdwriaeth, o'n mewn, a rhinwedd grâs
Yn maeddu a darostwng holl rym ein pechod câs.

### HYMN 141. M. N. 8. 7.

1 GWELL i mi na pherlau 'r India
  Gael duwioldeb yn ei grym;
Hon a'm cynnal dan bob cyni,
  Ac a ladd bob gelyn llym:
Hon a'm deil yn afon angeu,
  Ac a'm nertha i fyn'd ymlaen;
Hon a'm dysg ynganol dagrau,
  Byth i seinio peraidd gân.

2 Beth a dâl i'm feddu enw?
  Enw 'n unig nid yw ddim;
Heb gael meddu gafael cywir
  Ar dduwioldeb yn ei grym:
Beth dâl enw pan bo'm marw,
  Derfydd hwnw yn y man;
Os caf nabod Crist yn Brïod,
  Gorfoleddaf yn fy rhan.

3 Pa'm, gan hyny, byddaf foddlon
  Ar deganau gwael y llawr;
Gan mor fuan 'r wy 'n cyflymu
  Tua 'r byd sylweddol mawr:
Gwell i'm lefain am drugaredd,
  Mae nôs angeu yn nesâu,
Bydd, yn wir, yn rhy ddiweddar
  Pan ddarfyddo 'mywyd brau.

### HYMN 142. M. H.

1 SANCTEIDDRWYDD teg yw harddwch tŷ
  Ein Harglwydd gogoneddus, cu;
Nid dull allanol deca' llun,
Rydd fawl i Dduw, neu fudd i ddyn.

2 Anfeidrol berffaith ydyw 'r Bôn
Sy 'n derbyn glân dragwyddol glod:
Datgana holl drigolion nef
Ogoniant ei sancteiddrwydd Ef.

3 Sancteiddrwydd gwirioneddol yw
Prydferthwch hardda' eglwys Dduw;
Y ddisglaer wisg, a dirfawr fraint
Y gogoneddus siriol saint.

4 Y galon gystuddiedig yw
Anwylaf deg breswylfod Duw:
Ni wena Duw ar enaid un
Na ddug ei ddelw hardd ei hun.

---

## CARIAD DUW.

## HYMN 143. M. C. C.

1 PA ham y rhed fy serch a'm bryd
Ar ol y byd a'i wagedd;
O f' enaid, gwêl, yn angeu ddydd,
Fel derfydd ei anrhydedd.

2 Pan byddo 'r galon egwan hon
Yn methu bron a churo;
Pa lês i mi drysorau byd
Pe cawn hwy gyd yn eiddo?

3 Pan byddo 'r traed a'r dwylaw hyn
Yn oeri 'n afon angau;
O Iesu, cynnal f' enaid gwan,
Rhag suddo dan ei thònau.

4 Os caf fod yn dy dirion law,
Nid ofnaf fraw marwolaeth;
Ac wrth fyn'd trwy y dyffryn du,
Caf ganu, Buddugoliaeth.

5 Anfeidrol haeddiant Adda 'r ail
Yw unig sail fy nghysur;
Y gwaed a lifodd ar y groes
Sy 'n dofi loes fy nolur.

## HYMN 144. M. C.

1 YR Iesu yw tegwch mawr y byd,
A thegwch pèna 'r nef;
Mae pob prydferthwch sydd o werth
Yn trigo ynddo Ef.

2 Os edrych wnaf i'r dwyrain draw,
Os edrych wnaf i'r de';
Yn mhlith a fu neu ynte ddaw,
'D oes debyg iddo Fe.

3 Mae holl deganau 'r ddaear hon
Fu gynt yn dwyn fy mryd,
Yn ngŵydd yr Iesu 'n gwywo 'n ddim
Ac yn diflanu i gyd.

4 Aroglau pêr ei nefol râs
Ynt fel aroglau 'r nef;
Ac nid oes gymmar îs yr haul
Yn un-lle iddo Ef.

## HYMN 145. M. C.

1 CYDUNED holl nefolaidd gôr,
A llwythau dynol ryw,
I ganu 'n llon â llafar lef,
"Mai cariad ydyw Duw."

2 Eglura gwirioneddau 'i air,
Ei drugareddau gwiw;
Ac angeu-Crist dros euog ddyn,
"Mai cariad ydyw Duw."

3 Dwyn rhyfedd waith ei râs ymlaen
Mewn calon ddrwg ei lliw,
A ddengys trwy 'r eglwysi oll,
" Mai cariad ydyw Duw."

4 Gwel'd gwael bechadur yn y nef,
O 'r fath ryfeddod yw !
A ddengys trwy 'r trigfanau fry,
" Mai cariad ydyw Duw."

5 Fy enaid clwyfus, na lesghâ
Mae modd i wella 'th friw ;
Mae achos da i dd'weyd bob dydd,
" Mai cariad ydyw Duw."

## HYMN 146. M. H.

1 MAE gan lwynogod ffauau i gyd,
Mae gan yr adar nythod clyd ;
Ond Mab y dyn, ein Prynwr mawr
'D oedd ganddo le i roi ben i lawr.

2 Bu 'n wr gofidus yn ei ei oes,
Mewn poen o hyd o'i gryd i'w groes ;
Cynnefin â doluriau mawr,
'D oedd ganddo le i roi ben i lawr.

3 Pan ddelo profedigaeth lem
I'n gwneyd yn brudd ac isel drem ;
O cofiwn ein Gwaredwr mawr
A fu heb le i roi ben i lawr.

4 Mewn cyfyngderau ar ein taith,
Na ddigiwn, na rwgnachwn chwaith ;
Mae Iesu 'n cydymdeimlo 'n awr :
Bu 'i hun heb le i roi ben i lawr.

AIL RAN.

5 Paham y daeth enneiniog Duw
O lys y nef i'n plith i fyw?
Paham y bu mewn tlodi mawr?
Paham heb le i roi ben i lawr?

6 I ddwyn ail râs i ddynol ryw,
I'w cadw a'u galw o feirw 'n fyw;
I droi o'u mysg drueni mawr,
Y bu heb le i roi ben i lawr.

7 A gwir ddïolchgar, lafar lef,
Ymluwenhâwn, a molwn Ef;
Ar haeddiant y Messïah mawr,
Mae ini le i roi 'n pen i lawr.

8 Drwy 'i enw Ef, ei Iawn, a'i waed,
Cawn bob rhyw elyn dan ein traed;
O fewn y nef mae 'n fyw yn awr,
Nid yw heb le i roi ben i lawr.

HYMN 147. M. C. C.

1 MAE cariad Duw yn enaid dyn,
Fel gwerthfawr wreiddyn ffrwythlon,
Yn rhoddi ffrwythau teg a phêr
Drwy giliau 'r dyner galon.

2 Nid dim a'n dwg trwy 'r dwfr a'r tân
I'r nefoedd lân yn hylwydd;
Ond cryf a grasol gariad Crist
Wna 'r enaid trist yn ddedwydd.

3 Ein ffydd a'n gobaith ymaith ânt,
Pan ddel gogoniant nefol;
Ond cariad perffaith a fydd byw
Byth gyda Duw 'n dragwyddol.

## HYMN 148. M. H.

1 PWY, pwy fu 'n d'od o Edom wlad
Yn Fuddugolwr mawr ei râd?
Yr hwn lefarodd yn ddïau
"Myfi wyf gadarn i iachâu."

2 Iachâ'dd â'i air y dwfn ei glwy'
Fu 'n afiach ddeugain mlwydd ond dwy;
Mae lle yn hyn i lawenhâu,
Ei fod yn gadarn i iachâu.

3 Dowch wahan-gleifion o bob gradd,
Awn ato i gyd, mae etto 'n gwâ'dd;
Er maint ein clwyf, mae E 'n parhâu
Yn Feddyg cadarn i iachâu.

4 Mae rhinwedd yn ei aberth drud
I achub hyd yr eitha' o hyd;
O dyma fraint, er maint ein bai,
Ei fod yn gadarn i iachâu.

### AIL RAN.

5 Bechadur gwael, o'th achos, clyw,
Croeshoeliwyd Crist, Anwylfab Duw;
Rho ynddo 'th grêd heb lwfrhâu,
Mae Ef yn gadarn i iachâu.

6 O ryfedd wyrth! dwyn lleidr caeth
I'r nef oddiar y croesbren wnaeth;
Yr un o hyd yw E 'n parhâu;
Mae etto 'n gadarn i iachâu.

7 Cael rhan yn Nghrist, mae 'n ddigon hyn
I wneyd yr Ethiop dua 'n wyn;
Ei râs trwy ffydd sy 'n cyfiawnhau,
Mae Ef yn gadarn i iachâu.

8 Aed engyl yr Efengyl fâd
At bob rhyw lwyth, i bob rhyw wlad,
I dd'weyd o hyd fod E 'n parhâu,
Yn Feddyg cadarn i iachâu.

HYMN 149. M. N. 148.

1 MAE cariad Crist fel môr o drysor rhad di-drai,
Er cymmaint aeth i'r ne', nid ydyw 'r lle ddim llai;
I chwi a minnau 'n awr mae lle
Y funud hon fyn'd ato Fe.

2 Manasseh, Mair, a Phaul, a'r Lleidr ar y groes;
Maddeuwyd iddynt oll, yn rhad bechodau 'u hoes:
Awn ninnau ato yn ddi-oed,
Mae 'n awr yr un ag oedd erioed.

3 Ni ddarfu ei law fyrhâu, nad all ein hachub ni;
Na chwaith ei glust drymhâu, rhag gwrando ein cwyn a'n cri;
Awn ato Fe, cawn eto fyw,
Can's cyfaill pechaduriaid yw.

HYMN 150. M. C.

1 AM Iesu Grist a'i râs ar g'oedd
Boed miloedd mwy o sôn;
Dyweded pob creadur byw,
Mai "Teilwng yw yr Oen."

2 Fe bery cariad Iesu cu,
Byth i'w ryfeddu 'n faith;
Datganu 'i fawl, ryglyddawl glôd,
Sydd ormod, gormod gwaith.

3 Hyn oll yn awr a allwn ni,
Sef llawen godi 'n llef;
Pa fodd yn well i seinio ei glôd,
Cawn wybod yn y nef.

4 'N ol treulio oesoedd maith di-ri',
Yn canu ei glodydd glân;
O hyd ei fawl ar gynnydd fydd,
A newydd fydd y gân.

HYMN 151. M. N. 8. 7. 7.

1 Y MAE Un uwchlaw pawb eraill
Drwy'r gre'digaeth faith i gyd,
Sydd yn haeddu 'i alw 'n gyfaill,
Ac a bery 'r un o hyd;
Brawd a anwyd imi yw
Erbyn c'ledi o bob rhyw.

2 Nis gall meithder ffordd, nac amser
Oeri dim o'i gariad Ef;
Mae ei fynwes byth yn dyner,
A'i gymdeithas byth yn gref:
Nis gall dyfroedd angeu llym
Ddiffodd ei angerddol rym.

3 Ymha le y ceir, er chwilio,
Neb yn caru fel Efe?
P'le mae 'r cyfaill, er ein hachub
Roddai'i 'fywyd yn ein lle?
Nid oes debyg iddo Ef
Drwy y ddaear faith a'r nef.

4 Pan fo pawb yn cefnu arnom,
Yn y dyffryn tywyll, du;
Pan fo pob daearol undeb
Yn ymddattod o bob tu;
Saif E 'n ffyddlawn y pryd hyn,
Ac a'n dwg yn iach drwy 'r glyn.

5 A phan ymddangoso eilwaith
Yngogoniant pur ei Dad,

Gyda'r holl angylion sanctaidd,
  Mewn anrhydedd a mawrhâd:
    Fe geir gwel'd mai 'r un fydd Ef,
    Er myn'd heibio 'r byd a'r nef.

## HYMN 152. M. C. C.

1 ODDYFNDER golud cariad Duw!
  Mor rasol yw ei wyrthiau!
Mor araf deg mae 'i farnau 'n dôd!
  Mor barod yw i faddeu!

2 Rhyw fawredd sy 'n ei gariad hael
  Uwchlaw ein gwael feddyliau;
O'i anfodd cospa bechod dyn;
  O'i fodd mae yn ei faddeu.

3 Hyd seithwaith prin y maddeu dyn
  I arall un o'i feiau;
Ond deng mil seithwaith, rhyfedd yw!
  Y maddeu Duw gamweddau.

4 Ymuned holl drigolion byd,
  A'r galon gyd â'r genau;
I seinio 'i fawl, gwir haeddawl glod,
  Mae 'n barod eto i faddeu.

## HYMN 153. M. C. C.

1 MAE 'r gwaed a redodd ar y groes
  O oes i oes i'w gofio;
Rhy fyr yw tragwyddoldeb llawn
  I dd'weyd yn iawn am dano.

2 Prif destun holl ganiadau 'r nef
  Yw "Iddo Ef" a'i haeddiant;
A dyna sain telynau glân,
  A'r uchaf gân gogoniant.

3 'Mhen oesoedd rif y tywod mân,
Ni bydd y gân ond dechreu;
Rhyw newydd wyrth o'i angeu drud
A ddaw o hyd i'r goleu.

4 Ni thraethir maint anfeidrol werth
Ei aberth yn dragywydd;
Er treulio myrdd o oesoedd glân,
Ni bydd y gân ond newydd.

AIL RAN.

1 MAE hynod rinwedd gwaed yr Oen,
A'i boen wrth achub enaid,
Yn seinio 'n uwch ar dannau 'r nef,
Na hyfryd lef Seraphiaid.

2 Nid yw caniadau 'r nef yn awr,
Ond megys gwawr yn tòri,
Yr hon fel amnaid fechan iawn,
Arddengys lawn oleuni.

3 Pan ddelo torf y cystudd mawr
O'r anial dirfawr yno,
Dylenwir croth pob dwyfol dant
Ag uwch gogoniant iddo.

4 Er adrodd sain holl rànau glân
O'r ddirfawr gân ddiddarfod;
Ni bydd eu dawn ond isel fri
Am waed i olchi pechod.

HYMN 154. M. H.

1 BETH wyf fi well er meddu 'n drist
Y byd i gyd a bod heb Grist;
Mae 'n elw da, mae 'n olud im';
Ond bod heb Dduw yw bod heb ddim.

2 Nid oes un enw dan y nef
Rydd fywyd ond ei enw ef;
Ni fu erioed, ni fydd yr un,
Fath Geidwad da i gadw dyn.

3 Pwy ond Efe a dlodai 'i hun
I gyfoethogi tlodi dyn?
Rhagori mae ei gariad Ef
Ar bob rhyw gariad dan y nef.

4 Rhyw uchder, dyfnder, llêd, a hyd,
Sydd yn ei gariad at y byd;
Uwch deall daearolion yw,
Yn d'rysu dawn angylion Duw.

### HYMN 155. M. N. 148.

1 YMGRYMED pawb i lawr, i enw 'r addfwyn Oen,
Yr enw mwya' mawr, erioed a glywyd sôn:
Y clod, a'r mawl, y parch a'r bri,
Fo byth i enw ein Harglwydd ni.

2 Beth yw 'r telynau aur, sydd gan angylion fry?
Pa fath ganiadau gair, gan gôr y nefol lu?
A feddant hwy felusach tôn,
Na 'r anthem hon, "Teilwng yw 'r Oen?"

3 Ei hyfryd enw yw, gorfoledd nef a llawr,
'D oes gymmorth ini gael, ond yn ei enw mawr;
Pa fodd yr iawn hysbysaf fi
'R hyn oll a wnaeth ein Harglwydd ni?

4 I'r gogledd, dwyrain, de', ac i'r gorllewin faith
Yr elo 'i enw E, yn glodfawr gan bob iaith;
Am angeu 'r groes boed sôn o hyd,
A'i fawl yn fwy gan bawb trwy 'r byd.

## HYMN 156. M. H.

1 BOED cariad Crist gan fawr a mân
Yn destun cu pob dynol gân;
Effeithiol ffrwyth ei aberth Ef
Sy 'n ennyn holl ganiadau 'r nef.

2 Ei wyrthiol waith a'i werthfawr waed
Sydd Graig ddïysgog dan fy nhraed;
Fy ngobaith yw, a'm gwobrwy hael,
Mae 'n nerth i'r gwan, mae 'n werth ei gael.

3 Ni ddryllia gorsen ysig laith,
Ni ddiffydd lîn yn mygu chwaith;
Amgeledd râd a rydd i'r gwael;
Mewn awr o gûr mae 'n hawdd ei gael.

4 Pan ballo 'r byd, a chuddio 'i wedd,
Mor werthfawr cariad Crist a'i hedd!
Mae 'n rhodd ddi-feth, mae 'n rhan ddi-ffael,
'D oes raid wrth well, 'd oes well i'w gael.

## HYMN 157. M. C.

1 DIFYRWCH f' enaid, Iesu gwiw,
Yw edrych ar dy wedd;
Ac mae llyth'renau d' enw pur
Yn fywyd ac yn hedd.

2 O dan dy aden dawel di
'R wyf yn dymuno byw,
Heb ymhyfrydu fyth mewn dim,
Ond cariad at fy Nuw.

3 Melusach nag yw 'r diliau mêl
Un munyd o'th fwynhâu;
Ac nid oes genyf fwyniant sydd
Ond hyny yn parhâu.

4 A phan y syrthio sêr y nen,
Fel ffigys îr i'r llawr:
Bydd fy nyddanwch heb ddim trai
Oll yn fy Arglwydd mawr.

5 Meddianned Ef a'i ddwyfol râs
Fy holl serchiadau'n un:
Na chaed o fewn fy mynwes fod
Neb ond Efe ei hun.

### HYMN 158. M. M. 148.

1 MAE enw 'r addfwyn Oen, yn llawer gwell na 'r byd, [bryd;
Mae lluoedd maith y nef, yn rhoddi arno 'u
Mae 'i ddawn, a'i râs, a'i gariad drud
Yn llanw 'r nef, yn llanw 'r byd.

2 I enw Crist a'i râs, mae 'n addas plygu 'n awr
Coronwn ninnau Ef, yn Arglwydd nef a llawr;
Ei barch a'i harddwch elo 'mlaen,
Nes ennill serch y byd yn lân.

3 Dan bob drylliedig friw, dan bwys euogrwydd
Efe yn unig yw, ein noddfa dan bob un: [blin,
'D oes enw 'n bod o dan y nef
Yn werthfawr fel ei enw Ef.

### HYMN 159. M. M. 8. 7.

1 O ANFEIDROL râs a chariad,
Cariad ag nas dichon dawn
Dynion nag angylion hwythau
Ei fynegi byth yn llawn;
Cariad yw a fydd yn destun
O bob anthem yn y nef;
Seintiau ac angylion disglaer,
Ganant am ei gariad Ef.

2 Tragwyddoldeb ni fydd ormod,
Ni fydd ormod, er ei hyd,
I amlygu holl ddyfnderoedd
Cariad Iesu at y byd:
Bydd rhinweddau maith ei glwyfau
Yn ol oesoedd rif y gwlith,
Yn chwanegu mewn disgleirdeb,
A chwanegant fwyfwy fyth.

HYMN 160. M. N. 8. 8. 8.

1 O RYFEDD gariad ddarfu ddwyn
I'n plith y Meddyg, Iesu mwyn;
Y mae 'n rhagori ar bob un;
Gadawodd orsedd nefol wlad,
I lawr y daeth o lŷs ei Dad,
Yn gadarn dŵr i gadw dyn.

2 Cysgodi ei Dduwdod mawr a wnaeth,
Mewn dynawl gnawd, yn dlawd y daeth
I breseb gwael o'r orsedd fawr:
Pen gwrthddrych cân llu nef i gyd,
Cynhaliwr mawr colofnau 'r byd,
Heb ganddo le i roi 'i ben i lawr.

3 Ond er ei waelder yn y byd,
Mae pob cyflawnder ynddo ynghyd,
Mae 'n Hollgyfoethog, enwog Un;
Mae 'n fywyd meirwon i ail-fyw,
Yn Feddyg llon i'r fron sydd friw—
Yn oll yn oll i euog ddyn.

4 Paham yn drist y safwn draw,
Mae 'n derbyn ato bawb a ddaw,
Mae 'i fraich a'i law o hyd ar led;
Dim cariad mwy na hwn nid oes,
Ac ni bu 'rioed mewn un rhyw oes;
Mae 'n Geidwad cryf i bawb a grêd.

## HYMN 161. M. C. C.

1 DYMUNWN, Arglwydd, ger dy fron,
Roi 'n awr fy nghalon iti;
Ti 'm ceraist i er maint fy mai,
Ni allaf lai na 'th garu.

2 Mi haeddais fod yn awr a'm nyth
Yn uffern byth yn poeni;
Ond Ti sydd wedi trugarhâu;
Ni allaf lai na 'th garu.

3 Yn hir bum mewn trueni mawr,
Heb brisio fawr am Iesu;
Yn awr i mi mor werthfawr mae!
Ni allaf lai na 'i garu.

## HYMN 162. M. C.

1 NA foed i'm bywyd bellach fod
Yn eiddo i mi fy hun;
Ond treulio fy munydau i gyd
Er clod i'm Harglwydd cûn.

2 Uwch cyrraedd pob serchiadau gwael
Yw 'r cariad pur ei flâs,
Ag sydd yn llifo 'n loyw ffrwd
O iachawdwriaeth grâs.

3 Dymunwn yma dreulio 'm hoes,
O foreu hyd brydnawn,
Lle cawn i wylo cariad pur
Yn ddagrau melus iawn.

4 Darfydded dydd, darfydded nôs,
Fel munyd bach o'r awr;
Tra b'wyf yn caru, a rhoi 'mhwys,
Ar fynwes f' Arglwydd mawr.

5 O gwna fi 'n ffyddlawn tra f'wyf byw,
A'm golwg at dy glôd;
Heb roi fy mryd na 'm serch ar ddim
A welwyd îs y rhôd.

6 O gâd im' brofi 'th nefol hedd
Yn mhob anadliad pur;
Ac felly myn'd o'r byd i'r bedd
Mewn hun nefolaidd wir.

## HYMN 163. M. H.

1 DYMUNAF fi ddyrchafu 'n awr
Fy llais mewn mawl i'm Prynwr mawr
Sôn am ei gariad byth a wna'—
Yr Iesu wnaeth pob peth yn dda.

2 Oh! cariad mwy na hwn nid oes,
Sef dioddef angeu, angeu 'r groes;
O'm hachos i rhoed arno bla;—
Yr Iesu wnaeth bob peth yn dda.

3 Iachawdwr holl ddigonol yw,
A'i ddoniau 'n rhâd i ddynol ryw;
Iachâ'dd y cloff, y dall, a'r cla';
Gwnaeth Ef i ddyn bob peth oedd dda.

4 Achubodd ddyn, bentewyn tân,
Fe wna 'i ddu glwyf mor wyn a'r gwlân:
Yn wir fe wnaeth—yn awr fe wna
Bob peth ei hun i ddyn sydd dda.

5 I'r gwan amddifad mae Fe 'n frawd,
Mae 'n hynod dlŵs i'r enaid tlawd;
Ni fedraf draethu 'i glod heb feth,
Can's da y gwnaeth Efe bob peth.

HYMN 164. M. N. 10au.

1 GWNA fi fel pren planedig, O fy Nuw,
Yn îr ar lan afonydd dyfroedd byw;
Yn gwreiddio ar led, a'i ddail heb wywo byth
Yn ffrwytho dan gawodydd nefol wlith.

2 Fel byddwyf byw yn nghanol pob rhyw bla
Dan gysgod clŷd adenydd Iesu da;
A'm tegwch gwir fel olew-wydden wiw
O blanaid teg daionus Ysbryd Duw.

3 Ac yno caf mewn hâf dragwyddol ddydd,
Y Palmwydd teg, a'r goron brydferth sydd
Yn nghadw gan yr Iesu pur i'w saint,
Mewn disglaer fyd, O nefol freiniol fraint!

4 Fel Haul yn llon, boed imi deithio o hyd
Nes cyrraedd pen fy ngyrfa yn y byd;
A meddwl pur, ewyllys bywiog llon
Nes gado o'm hôl yr hudol ddaear hon.

HYMN 165. M. H.

1 WRTH droi fy ngolwg yma 'n awr,
I gyrau 'r greadigaeth fawr,
Gwrthddrych ni wêl fy enaid gwan,
Ond Iesu i bwyso arno 'n rhan.

2 Pwy wrendy riddfan f' enaid gwan,
Pwy 'm dwg o'm holl ofidiau 'r lan?—
Pwy ddwg fy maich fel Brenin ne',
Pwy gyd-ymdeimla fel Efe?

3 Wel dyma un, dywedwch p'le,
Y gwelir arall fel Efe:
A bery 'n ffyddlon i mi o hyd
Y'mhob rhyw drallod yn y byd?

4 Yn fynych, fynych, Iesu cu,
Datguddia 'th fod yn eiddo i mi;
Mewn tònau mawr yn wastad gâd,
I'm allu llefain, Abba, Dâd.

## HYMN 166. M. C.

1 AR gariad Duw, fy meddwl rhêd,
Myfyria 'i lêd a'i hyd,
Ei uchder a'i ddyfnderoedd maith,
A wnaeth y gwaith i gyd.

2 Ei gariad, di-gyfnewid yw,
Oblegid Duw a'i medd;
A sôn am dano 'r hyd y byd,
Y byddaf hyd y bedd.

3 Uwch pob rhyw gariad îs y nef
Yw cariad pur fy Nuw;
Anfeidrol fwy na 'r moroedd maith,
Anfesuredig yw.

4 Fe bery 'n ffyddlon byth heb baid,
Beth bynag ddaw o'r byd;
Ac er cymmysgu tir a môr,
Yr un yw 'r IÔR o hyd.

## HYMN 167. 8. 8. 6.

1 FY hoffder a'm rhyfeddod yw,
Dy holl weithredoedd di, O Dduw;
Dy degwch ynddynt sy':
Nid oes ar dir a moroedd maith,
Nac yn y nefoedd uchod chwaith,
Ond gwaith dy ddwylaw cu.

2 Ond golud grâs, mor rhyfedd yw,
I'w wel'd yn wyneb Iesu gwiw;
Mae 'n tynu mwy o'm bryd:
Doethineb, hedd, trugaredd cawn,
Yn cyd-lewyrchu yma 'n llawn,
A gwir ac iawnder drud.

3 Dy gariad yw fy nhrysor drud,
Dy wyneb ceisiaf fi o hyd,
Gorphwysfa f' enaid yw:
Pe collwn bob peth ar y llawr,
A chael dy bresennoldeb mawr,
Yn ddedwydd byddwn byw.

4 Pa fodd y taenaf glod fy Nuw?
Trwy weddill f' oes sydd im' i fyw,
Rhof i ti fawl dilyth:
Offrymu wnaf fy einioes gu,
Yn eiddot ti hyd angau du,
Ac eiddot ti dros byth.

## HYMN 168. M. C.

1 EIN Duw a'n Tad, anfeidrol Iôr,
Trag'wyddol Dri yn Un,
Llifo mae 'th gariad fel y môr,
I wael syrthiedig ddyn.

2 Dy hedd a'th gariad dôd i mi,
A phawb o ddynol ryw;
I etifeddu 'r fendith fawr,
Gollwyd yn Eden wiw.

3 Tragwyddol Haul cyfiawnder cu,
Disgleiria yn ein plith;
A llewyrch llon dy wyneb di
A'n gwna ni 'n ddedwydd byth.

4 Dadguddia 'th hun i mi bob awr,
Tra fyddwyf yma 'n byw;
A chwedi 'n dwg fi ger dy fron,
Dros fyth i foli 'm Duw.

HYMN 169. M. N. 8. 7.

1 GWNES y dewis goreu wnaethpwyd,
Dewis Brenin nefoedd wen;
Imi 'n Bríod ac yn Gyfaill,
Imi 'n Geidwad, ac yn Ben:
Cyfoeth mawr, didrai, diderfyn,
Rydd i mi ar ben fy nhaith,
A bendithion di rifedi,
Megis tywod moroedd maith.

2 Môr sydd ynddo o fendithion,
Heb waelodion iddo 'n bod;
Y mae 'n llanw 'mlaen bob munyd,
Ni bydd diwedd ar ei glod:
Mae ei enw yn ymdaenu
Fel goleuni boreu wawr;
Bydd telynau 'n canu iddo,
Fel rhifedi gwellt y llawr.

3 O ynfydion, deillion daear,
Pa 'm dewiswch bethau gwael,
Pan mae cyfoeth gwir sylweddol,
Heb ddim arian, oll i'w cael;
Na chofleidiwch mwy wageddau,
Ceisiwch bethau sy 'n parhâu;
Yna cewch dros dragwyddoldeb
Yn y nefoedd eu mwynhâu.

HYMN 170. M. C.

1 TREFN ryfedd luniwyd gan y Tád,
Er mwyn arbediad byd

Trwy hon caiff dynol ryw lesâd;
Mae 'n gariad oll i gyd.

2 Fe gaed boddlonrwydd yn yr Iawn,
Yr aberth cyflawn drud;
Mae 'r iachawdwriaeth fawr ei dawn
Yn gariad llawn i gyd.

3 Fe gân preswylwyr Salem bur
Yn ddifyr iawn o hyd,
Byth am yr iachawdwriaeth râd,
Sy 'n gariad oll i gyd.

---

## GWAHODDIAD YR EFENGYL.

### HYMN 171. M. N. 8. 7.

1 CLYW bechadur, sâf yn fuan,
Paid a dilyn llwybrau 'r fall;
Rhag it' syrthio dros y geulan
I ddyfnderoedd bythol wall;
Oni chym'ri 'n rybudd prysur,
Barn a ddisgyn oddi draw;
Trwm arswydus fydd dy ddolur,
Tan y dïal ddydd a ddaw.

2 Bechaduriaid, eto cofiwch,
Cyn ei myned yn rhy hwyr;
Duw sy 'n galw, 'nawr, dychwelwch,
Onidê daw dïal llwyr:
Yn nydd grâs, cyn awr marwolaeth,
Y mae caffael grâs a hedd;
Ni bydd cynnyg iachawdwriaeth,
Na maddeuant yn y bedd.

3 Mae y ffynnon yn agored,
Grâs y nefoedd heb brinhâu;
Crist sy 'n derbyn pechaduriaid
I'w heddychu a'u glanhâu;
Màe llawenydd yn y nefoedd
Pan fo un pechadur trist
Yn y dirgel ac ar gyhoedd
Yn nesâu at Iesu Grist.

## HYMN 172. M. C.

1 O DEUWN bawb i'r dyfroedd byw,
Y dyfroedd goreu 'u blâs;
Ac ni gawn yfed fyth, heb drai,
O ffrydiau dwyfol râs.

2 'D oes yma eisiau byth yn bôd,
Trysorau grâs sy 'n llawn;
Er maint yr yfed a'r glanhâu,
O foreu hyd brydnawn.

3 Tra caffwyf yfed ar fy nhaith
O'r ffynnon loyw glir,
Nid ofnaf ronyn, er eu grym,
O ddrygau 'r anial dir.

## HYMN 173. M. C.

1 MAE 'R iachawdwriaeth râd mor fawr,
Mae 'n achub, mae 'n glanhâu,
Troseddwyr duaf daear lawr;
Gwnawn ynddi lawenhâu.

2 Cael derbyn o'i chyflawnder cun
A wna y trist yn llon;
Gogoniant Duw, dedwyddwch dyn,
Sydd yn gytûn yn hon.

3 Mae Iesu Grist yn drysor mwy
Na holl drysorau 'r byd;
Daeth hedd a bywyd ini trwy
Ei angeu gwerthfawr drud.

### HYMN 174. M. B.

1 MAE 'R iachawdwriaeth râd,
Yn ddigon i bob rhai;
Agorwyd ffynnon er glanhâd
Pob pechod câs a bai.

2 Daw tyrfa rif y gwlith
Yn iach trwy rin ei waed;
Pwy ŵyr na byddaf yn eu plith,
Yn lân o'm pen i'm traed?

3 Er lleted yw fy mhla,
Er dyfned yw fy mriw;
Y Balm o Gilead a'm hiachâ,
Mae Crist yn feddyg gwiw.

4 Dan bwys euogrwydd du
Edrychaf tu a'r groes;
Lle llifodd gwaed fy Mhrïod cu,
Anfeidrol Iawn a roes.

### HYMN 175. M. N. 148.

1 YR Iesu 'n barod sy i'n casglu ato ynghyd,
Fel iâr ei chywion gwan o dan ei haden glŷd;
Y neb a gredo ynddo o hyd,
Er gwàned fo, O gwyn ei fyd!

2 Ymguddfa ynddo gawn, rhag dïal cyfiawn Duw
Pwy bynag ato ddêl, yn wir dïogel yw;
Fe ddaeth i'n prynu ni mewn pryd;
Mae eto 'n gwa'dd, awn ato i gyd.

3 Ei ganmol fyddo 'n gwaith, tra ar ein taith i'r nef;
Rhown wedi'n â gwell iaith, ganmoliaeth iddo Ef:
Mwy melus fydd y mawl o hyd,
Ac uwch y gân i'r Iesu i gyd.

4 Mor felus, felus fydd datganu ei glodydd glân,
A phawb yn iach o'u pla, ac am yr ucha' eu cân;
Ac er eu huchel gân i gyd,
Yn îs na 'i haeddiant bydd o hyd.

## HYMN 176. M. N. 7au.

1 HYFRYD lais Efengyl hedd
Sydd yn galw pawb i'r wledd;
Mae gwahoddiad llawn at Grist,
Oes, i'r tlawd, newynog, trist:
Pob cyflawnder ynddo gewch,
Dewch a chroesaw, dlodion, dewch.

2 Iesu gaiff y clod i gyd,
Ymaith dug bechodau 'r byd;
Rhoes ei hunan yn ein lle:
Bellach beth na rydd Efe?
Haleluia, llawenhêwch,
Dewch, moliannwch, byth na thewch.

## HYMN 177. M. N. 6. 4. 8. 7.

1 O DEUWCH fawr a mân, cyn delo 'r diluw dân,
I'r arch mewn pryd, fe lysg y byd yn lân;
O ddinas distryw brysiwch, ffowch,
Ar y gwastadedd nac ymdrowch; [ddowch.
I sanctaidd fynydd Sion, O ddynion, pa 'm na

2 Yn awr, bechadur, clyw, yn awr yw amser Duw,
Am gymmod teg, dy unig adeg yw;
Dy alw di mae Iesu mawr,
O tyred, tyred ato 'n awr;
Rhydd fywyd yn dragywydd, mae 'n Llywydd nef a llawr.

## HYMN 178. M. B.

1 DYRCHAFWN lafar glod,
Am y rhyfeddod fawr,
O gariad Duw at ddynol ryw,
Mwy gwael na llwch y llawr.

2 Yn rhâd cyfodwyd ni,
O lyn trueni trist;
Goruwch angylion bydd y saint,
Trwy haeddiant Iesu Grist.

3 Deuwch bechaduriaid, dewch,
Ymrowch, a rhowch yn rhydd
Ufudd-dod, clod, a moliant clau,
Sef gwir effeithiau ffydd.

4 I'w alwad ufuddhêwch,
A gwir fawrhêwch ei râs;
Nis gall y nef na daear lawr,
Roi 'i enw mawr i mâ's.

## HYMN 179. M. N. 148.

1 UDGENWCH, weision Duw, mewn udgorn melus mawr,
Gan ddwyn i ddynolryw ragorol newydd 'n awr;
Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhyddid gwiw i'r rhai oedd gaeth.

2 Mae gwaredigaeth hael, trwy rinwedd gwaed
yr Oen,
I gaethion gweinion gwael, sy 'n byw tan
bwysfawr boen,
Blwyddyn y Jubili, &c.

3 Dadseinied grâs ein Duw trwy holl derfynau 'r
byd,
A doed ei deyrnas wiw tros gyrau hwn i gyd;
Blwyddyn y Jubili, &c.

HYMN 180. M. N. 8. 7.

1 BETH yw 'r udgorn glywa i 'n seinio?
Brenin Silo sydd yn gwa'dd:
Pwy sy 'n cael eu galw ganddo?
Pechaduriaid o bob gradd.
Adre', adre', blant afradlon,
Gadêwch gibau gweigion ffôl,
Clywaf lais y Brenin heddyw,
'N para i alw ar eich hôl.

2 Pa 'm y geilw 'r Brenin arnom?
Am ei fod yn llawn o râs:
Beth a wna i'r drwg sydd ynom?
Gylch â'i waed eich pechod câs:
Ei amynedd sydd yn rhyfedd
Yn eich goddef hyd yn awr;
Plygwch, plygwch i'w drugaredd,
Cyn myn'd tan ei lid i lawr.

3 A achubir hen droseddwr?
Gwneir, o waelod trallod trist:
Pwy fydd iddo yn Waredwr?
Duw a dyn, un Iesu Grist:

Bechaduriaid, euog aflan,
  Dan gnofëydd euogrwydd llym;
At yr Iesu deuwch weithian,
  Ef ni 'ch bwria allan ddim.

### HYMN 181. M. N. 8. 7.

1 DOWCH, rai euog, am faddeuant,
  Dowch at Iesu, dyma 'r dydd;
Llawer wrth ei ddrŵs a gurant
  Pan yn gauad byth y bydd:
Llithro 'r ydych ar ddisgynfa
  Tua 'r pwll sydd îs na 'r bedd;
Trowch, O trowch i'r amddiffynfa
  Tra mae eto 'n amser hedd.

2 Clust ogwyddwch, Crist sy 'n galw,
  Mae 'n eich gwahodd, O gwrandêwch;
Deuwch ato, ymresymwch,
  Gwrendy arnoch, croeso gewch:
D'wedwch am eich dirfawr feiau,
  Dywed yntau am ei waed;
Deuwch, llechwch yn ei glwyfau,
  Fel na 'ch mathrer tan ei draed.

### HYMN 182. M. N. 148.

1 PECHADUR truan trist, sy'n wael a thlawd
  dy wedd,
Cais brawf o gariad Crist, cyn myn'd o'r byd
  i'r bedd;
  Nid oes un enw dan y ne',
  I fyd rydd fywyd ond Efe.

2 Y neb ddel ato Ef, nis bwria allan ddim;
Er maint ei bechod câs, mwy yw ei râs a'i rym;
  Ni phalla tosturiaethau 'n Duw
  Awn ato Fe, cawn eto fyw.

3 Mae ynddo râs wrth raid, digonol ar bob pryd,
I drechu grym a gwawd, y diafol, cnawd a'r byd;
Mae pob cyflawnder ynddo 'n hael,
Heb arian ac heb werth i'w cael.

4 Mor wyrthiol yw ei râs, mor addas ac mor rhâd!
Ymdaenu 'n fwy bob dydd bo 'i glodydd trwy bob gwlad;
Nes elo holl deyrnasoedd byd
Yn eiddo 'n Harglwydd ni i gyd.

## HYMN 183. M. N. 8. 7. 3.

1 DEUWCH hil syrthiedig Adda,
Daeth y Jubil fawr o hedd;
Galwad sydd ar bawb o'r enw
I fwynhâu tragwyddol wledd:
Bwrdd yn llawn yma gawn,
O foreuddydd hyd brydnawn.

2 Ceisiwch wisgoedd y brïodas,
Gwisgoedd hyfryd hardd eu lliw;
Nid oes enw teilwng arnynt,
Ond cyfiawnder pur fy Nuw:
Gwisg yw hon,—gwna ni 'n llon,
Dofa 'r boen sydd dan ein bron.

3 Dyma wledd y cewch ddanteithion,
Yma cewch faddeuant rhâd;
Yma cewch chwi felus brofiad,
Hedd a chariad tŷ eich Tad:
Dowch yn awr, dyrfa fawr,
Ac eisteddwch yma i lawr.

## HYMN 184. 8. 7. 4.

1 DEUWCH bechaduriaid tlodion,
Clwyfus, cleifion, o bob rhyw;
Meddyg parod i'ch gwaredu,
Llawn tosturi yw Mab Duw:
Nac amheuwch, &c., nerthol ac 'wyllysgar yw.

2 Rhai anghenus, dewch a chroesaw,
I gael rhoddion Duw yn rhâd;
Cewch wir ffydd ac edifeirwch,
A phob grâs yn ddi-nacâd: [wlad.
Dewch heb arian, &c., prynwch berlau 'r nefol

3 Am gymhwysder na freuddwydiwch,
Peidiwch, gwyliwch oedi awr;
Y cymhwysder oll mae 'n geisio—
I chwi deimlo 'ch heisieu mawr; [awr.
Am ei Ysbryd, &c., byddo 'ch gweddi bob rhyw

4 Dewch yn awr rai blin, trwmlwythog,
Trwy y cwymp ga'dd farwol friw;
Os arhoswch nes i'ch wella,
Chwi ni ddeuwch tra fo 'ch byw:
Pechaduriaid, &c., nid rhai cyfiawn eilw Duw.

## HYMN 185. M. N. 7. 4.

1 PLANT afradlon, at eich Tad, mae'ch wi groeso,
Rhai fu'mhell o dir eich gwlad, yn hir grwydro,
Llo pasgedig wedi ei ladd, chwi gewch wledda,
Ac mae'r gweision eto'n gwa'dd, y rhai gwaetha'.

2 Nid oes yn yr ardal bell, ond y cibau,
Gartref mae bywioliaeth well, i eneidiau;
Yn lle porthi chwantau ffôl, sy 'n eich drygu,
Dowch i dŷ eich Tad yn ol, cyn llewygu.

3 Dowch heb oedi at eich Tad, ac addefwch
Bechu i'w erbyn yn ddiwâd, O dychwelwch:
Cewch y fodrwy, cewch y wledd, a'r wisg ore'.
Prawf a gewch o'i rasol hedd, deuwch adre'.

### HYMN 186. M. N. 8. 7.

1 BU ein Harglwydd mawr ei hunan
Yn dïoddef angeu 'r groes;
Ef yw gobaith yr holl ddaear,
Gobaith arall in' nid oes:
Ef yw noddfa pechaduriaid,
Ef yw 'r meddyg all iachâu;
Ef yw 'r unig un a ddichon
Faddeu pechod a'u glanhâu.

3 Atoch, fyd o golledigion
Daw gwahoddiad rhâd y nef;
Croeso gewch gan Iesu grasol,
Dowch heb aros ato Ef;
Nid yw 'n gofyn un cymhwysder,
Ond ymdeimlad llawn o fai;
Dowch heb aros, fel yr ydych,
Derbyn Ef y gwaelaf rai.

### HYMN 187. M. N. 148.

1 O WELE werthfawr wledd, arlwyodd Duw ei hun!
Danteithion dwyfol râs sy 'n addas iawn i ddyn;
Pob llawnder ac amrywiaeth rhâd
Sydd yma i'w cael yn ddinacâd.

2 Mae yma bardwn llawn,—i'r euog gyfiawnhâd;
I'r blin orphwysfa bur—a chysur er iachâd:
A chroesaw i bawb dd'od ato Fe
Tra fyddo 'n d'weyd fod eto le.

3 Cymdeithas gawn â Duw, cymmundeb gyd â'r
saint; [braint!
A phrawf o'i gariad cu, mawr yw ein bri a'n
Cawn fara 'r bywyd ini 'n rhan,
A gwên ei wedd fel gwin i'r gwan.

4 Pa graig i 'mguddio gawn? pa noddfa dan y nef?
Os esgeuluso wnawn ei iachawdwriaeth Ef;
O ffown am fywyd ato Fe
Tra fyddo 'n d'weyd fod eto le.

AIL RAN.

1 FE brynodd Iesu 'n ddrud wledd fawr i'r byd
â'i waed: [rhâd:
Trwy rinwedd angeu 'r groes, fe 'i rhoes i ni yn
Pob mawl sy 'n haeddawl iddo Fe,
Trwy angeu 'r groes mae eto le.

2 Na 'mesgusodwn mwy, er maes na masnach byd;
Gwell cael yr Iesu 'n rhan, na golud byd i gyd;
Er dim nac oedwn funyd hwy,
Rhag ofn na chawn un alwad mwy.

3 Yn awr, medd Duw, yw 'r dydd, mae 'n disgwyl
ini dd'od;
Pob peth yn barod sydd, ac iddo byddo 'r clod:
Cawn yn y nefoedd eto le,
Felusaf waith, i'w foli Fe.

---

SWPER YR ARGLWYDD.

HYMN 188. M. H.

1 CHWI wir ffyddloniaid, dowch i'r wledd
A barotôdd Tywysog Hedd:
Cymdeithas hoff, danteithion hael
Sydd ar ei fwrdd yn rhâd i'w cael.

2 Y moethau da ar fwrdd ein Duw
Y'nt gnawd a gwaed yr Iesu gwiw;
Ni fedd y llu angylaidd llon,
Yn ngwlad yr hedd, fath wledd a hon.

3 Nyni a'th gofiwn, Iesu gwiw,
A'th ordinhâd, mor felus yw!
Anghofio 'th groes nis gallwn ni,
Yr hon a'n gwnaeth yn un â Thi.

4 I'th ordinhâd y rhoddwn barch,
Gan gofio 'th angeu di a'th arch;
Hyd oni chaffom yn ddiboen
Gydwledda 'n swper mawr yr Oen.

## HYMN 189. M. N. 148.

1 GWNAETH mwyn Dywysog hedd â llaw anfeidrol hael, [gwael:
Frenhinol, rasol wledd i dlodion, gweinion
'D oedd dim fath wledd yn Eden ardd,
Na ffrwyth mor hyfryd, ac mor hardd.

2 Trugaredd, hedd a grâs, a hoff gymdeithas Duw,
Yw 'r peraidd ymborth brâs; danteithion goreu eu rhyw:
A thaer y gelwir pawb i gyd
O lwythau pell daleithiau 'r byd.

3 Er bod rhyw dyrfa 'n awr yn gwledda 'n Salem fry,
Gan gadw neithior fawr, nis llanwyd eto 'r tŷ:
Mae eto le i ddirfawr lu,
Dowch oll yn mlaen, gyfeillion cu.

## HYMN 190. M. H.

1 MOR werthfawr, Arglwydd, yw fy mraint,
Mwynhâu dy swper gyd a'r saint:
Er cof, ryw awr am Galfari,
I'r Iesu farw drosof fi.

2 Y Bara hwn yn ddrylliog sy
Yn dangos corph fy Arglwydd cu:
Wrth wel'd y gwin 'r wy 'n cofio 'r gwaed,
Trwy 'r hwn yn hollol y'm glanhâed.

3 Yn ol ei ddull anwylaf Ef
Cyflawnwn ni o flaen y nef
Ei ordinhâd ar hyd ein hoes,
Drwy gywir gred, gan godi 'r groes.

4 O byddwn dystion i Fab Duw,
Yr hwn fu farw, ac sydd fyw;
Nes myn'd i deyrnas hardd ei Dad,
Mewn hedd i wledd y nefol wlad.

### HYMN 191. M. C.

1 YN ol ei rasol Ordinhâd
At Iesu yn isel âf;
Myfyriaf ar ei gariad rhâd,
A'i gynnes gofio wnaf.

2 Y corph fu drosof tan y dur
Fydd Fara 'm henaid i:
A'th waed fydd mwy fy nïod bur,
Fel hyn y'th gofiaf Di.

3 A ddaw i'r ardd byth mwy fy nhraed,
I wrando yno 'th gri?
A gwel'd dy ing, a'th chwys, a'th waed,
Ac heb dy gofio Di?

4 Tydi yn marw, minnau 'n fyw!
Tydi a'th waed yn lli!
O Oen fy aberth! Oen fy Nuw!
Rhaid imi 'th gofio Di.

AIL RAN.

1 CYMMERAIST phïol llid y Tad,
Troist hòno 'n wîn i mi:
O pwy nacâi 'r fath orchwyl rhâd
A hyn, dy gofio Di!

2 A gofiaf Di, â'th gariad pur,
A'th boenau drosof fi?
Tra 'm gwaed o fewn y galon gur,
O cofiaf, cofiaf Di.

3 Ni throf fy nghefn tra pery f'oes
Ar ordinhâd dy dŷ:
Ti 'm cofiaist i ar bren y groes,
O cofiaf, cofiaf Di.

4 O Haul Cyfiawnder t'wyna i lawr,
Dy wyneb arnom ni;
Ein calon oer gwresoga 'n awr
I'th gynnes gofio Di.

5 A phan bo 'm llais a'm côf yn ffoi,
Ar olaf dòn y lli;
Pob cyfaill arna 'i gefn yn troi,
O Arglwydd, cofia fi.

---

SABBOTH, AC ADDOLIAD CYHOEDDUS.

HYMN 192. M. C.

1 ARGLWYDD y Sabboth, erglyw 'n llef,
Yn awr o fewn dy dŷ:
Doed ein caniadau llesg i'r nef
O'th flaen fel aberth cu.

2 Sancteiddiwn oll sabbothau 'n Duw;
Ond fry Gorphwysfa sy:
At hon y cyrcha 'n henaid byw
A dymuniadau cry'.

3 Mor ddedwydd ydyw 'r dyrfa lân!
Heb bechod, gwae, na phoen:
Na dim och'neidiau 'n rhwystro 'r gân
A seiniant byth i'r Oen.

4 Rho ar dy waith neillduol flâs
A gwên dy wyneb cu:
Ac wedi gado temlau 'th râs,
Cawn sabboth bythol fry.

## HYMN 193. M. N. 8, 7. 4.

1 O AM dreulio 'r Sabboth sanctaidd
Drwyddo 'n weddaidd yn dy waith!
Gwyl hynodol a bennodaist,
Pan osodaist un o saith:
Dydd i borthi, &c. Sïon deulu sydd ar daith.

2 Dyro nerth i'th weision heddyw,
Sefyll dros dy enw mawr:
I gyhoeddi Ceidwad enaid
I drueiniaid ar y llawr:
Ymddisgleiria, &c. tirion wena, tòr y wawr.

## HYMN 194. M. H.

1 BUM heddyw gyda 'th bobl gu
Yn gwledda, O Dad, o fewn dy dŷ:
Ces heddyw brawf o'r ymborth brâs
A drefnodd rhâd anfeidrol râs.

2 Mor felus yw 'th gymdeithas Di
Dros ennyd awr i'm henaid i!
O! am y nefol gyflawn wledd
Sy 'n ngŵydd yr Oen yngwlad yr hedd!

3 Pan dderfydd fy Sabbothau i gyd,
A'm heinioes fer yn hyn o fyd,
O Dad, dwg fi i'th breswyl fry
I seinio clod yr Iesu cu.

## HYMN 195. M. H.

1 O Dduw, Jehofa, Un a Thri,
Mor haeddol wyt o'n moliant ni:
Dy enw mawr a folir fry
Yn deilwng gan y nefol lu.

2 Dymunem ninnau, Arglwydd Iôr
Gyd-uno 'n awr â'r nefol Gôr;
A chalon bur, trwy lafar lef,
Addoli 'n barchus Frenin nef.

3 Gwaith hyfryd iawn yw moli Duw,
Gwaith mawr, a sanctaidd hefyd yw;
Dy Ysbryd Glân, O Arglwydd da,
Yn gymmorth ini caniatâ.

4 Rhag gwag feddyliau crwydraidd, câs,
O gwared ni â'th nefol râs;
Na ddelont ddim i'n blino 'n awr
Yn sanctaidd lŷs y Brenin mawr.

5 Y galon ddrylliog dod i ni,
Yn plygu o flaen d' orseddfaingc Di;
Ac ysbryd gweddi dyro 'n rhodd,
I'th wir addoli wrth dy fodd.

6 Trwy ffydd a chariad boed pob un,
Yn cyd-nesâu at Dduw 'n gytûn;
Ac undeb ysbryd fo 'n ddiball
Yn uno calon 'naill a'r llall.

## HYMN 196. M. H.

1 YMGRYMWN oll ynghyd i lawr
Ger bron gorseddfaingc grâs yn awr;
A pharchus ofn addolwn Dduw,
Mae 'n weddus iawn, awr weddi yw.

2 Awr weddi yw, awr addas iawn,
I draethu cwynion calon lawn;
Gweddïau 'r gwael Efe a glyw,
Yn awr yn wir, awr weddi yw.

3 Trugaredd gawn a chymmorth grâs
I faddeu a threchu pechod câs;
Yn enw 'r Iesu awn at Dduw,
Ni ommedd ddim, awr weddi yw.

4 Addawodd Ef ei hunan fod
Lle byddo dau neu dri yn d'od;
Fel bywiol wlith rhydd fendith wiw,
Cawn wên ei wedd, awr weddi yw.

5 Dy Ysbryd, Arglwydd, doed i lawr,
Yn Ysbryd grâs a gweddi 'n awr:
I'n gwneud yn wir addolwyr Duw;
Mawl fyddo i ti, awr weddi yw.

## HYMN 197. M. H.

1 DY heddwch, IÔR, a gwel'd dy wedd
Yw 'n cysur mwyaf hyd y bedd;
Ond gwell fydd in' gartrefu 'n llon
Yn nef y nefoedd ger dy fron.

2 Os hoff yw bod o fewn dy dŷ,
Mae gwynfyd gwell yn d' eglwys fry;
Rhyw ddafnau melus yma gawn
Cawn yno fôr gorfoledd llawn.

3 Os hyfryd yw mewn anial wlad
Gael trem o bell ar dŷ fy Nhad;
Mor hyfryd fydd yn llŷs y nef,
Gymdeithas agos, hoff, ag Ef.

---

## CARIAD BRAWDOL.

### HYMN 198. M. N. 7. 4.

1 WELE mor ddymunol yw, cariad brawdol;
Undeb hyfryd meibion Duw, sydd ragorol:
Rhwymyn holl berffeithrwydd cu, ydyw cariad;
Gweddus yw i sanctaidd dŷ, Duw ein Ceidwad.

2 Cofiwn am orchymyn gwiw, Iesu tirion:
Cariad at ein gilydd yw, ei gynghorion;
Cofiwn am ei gariad Ef, fel annogaeth;
Dyma sylfaen gadarn gref ei athrawiaeth.

3 Cariad brawdol, cywir gwyn, sy 'n dystiolaeth
Ddarfod ini gael ein dwyn, o farwolaeth;
Ar bob rhinwedd a phob dawn, mae 'n rhagori;
Gyd ag ymdrech dyfal iawn, gwnawn ei fagu.

### HYMN 199. M. N. 6. 6. 4.

1 PA olwg hyfryd yw
Crist'nogion yn cydfyw, fel brodyr Crist;
Ei Ysbryd yn mhob un, bâr iddynt yn gytûn,
Ymgadw rhag drwg wŷn, a chynnen trist.

2 Ysbrydol gariad pur
Fo 'n lladd ein hunan sur, a'n balchder câs;
A'n gwneud fel diddig ŵyn, o dymmer hawddgar fwyn
Yn dyst o gael ein dwyn i stâd o râs.

3 Pur gariad Duw bob pryd
Fo 'n rhwymo oll ynghyd ei weision Ef;
Un bedydd, ac un ffydd, un 'fengyl fyth a fydd,
Un llwybr hefyd sydd i deyrnas nef.

4 Ein mwyn Frenhines wiw
Fo byth dan nawdd ein Duw, ar Brydain dir;
Fel caffo 'r deyrnas hon, a'r eglwys ar ei bron,
Ei maethu oll yn llon mewn hawddfyd hir.

---

## Y NEFOEDD.

### HYMN 200. M. C.

1 MAE 'n hyfryd meddwl ambell dro
Wrth deithio anial le;
Ar ol ein holl flinderau dwys,
Cawn orphwys yn y Ne'.

2 Pan ar ddiffygio gan y daith,
A lludded maith y lle;—
Mor hoff yw gwybod—wedi hyn
Cawn orphwys yn y Ne'.

3 Er colli ein cyfeillion hoff
Yn yr Iorddonen gref;
Mae 'n felus meddwl—etto 'nghyd
Cawn gwrddyd yn y Nef.

### HYMN 201. M. N. 8. 7. 4.

1 DECHREU canu, dechreu canmol,
Yn mhen mil o oesoedd maith,
Bydd y llawen bererinion,
Hyfryd draw ar ben y daith:
Moli 'r Iesu, &c. fydd eu gwynfyd, hyfryd waith.

2 Nid oes yno gofio beiau;
Dim ond llawn faddeuant rhad:
Cofio 'r groes, a grym y cariad,
A rhinweddau maith ei waed:
Adsain nefol, &c. leinw ehangderau 'r wlad.

## HYMN 202. M. N. 8. 8.

1 O FRYNIAU Caersalem ceir gweled
Holl daith yr anialwch i gyd;
Pryd hyn y daw troion yr yrfa,
Yn felus i lanw ein bryd:
Cawn edrych ar stormydd ac ofnau,
Ac angeu dychrynllyd a'r bedd:
A ninnau 'n ddïangol o'u cyrraedd,
Yn nofio mewn cariad a hedd.

2 Cawn esgyn o'r dyrys anialwch
I'r beraidd Baradwys i fyw:
Ein henaid lluddedig gaiff orphwys
Yn dawel ar fynwes ein Duw:
Dïangfa dragwyddol geir yno
Ar bechod, cystuddiau, a phoen:
A gwledda i oesoedd diderfyn
Ar gariad annhraethol yr Oen.

## HYMN 203. M. C.

1 'RWY 'n sefyll ar dymhestlog làn
Yr hen Iorddonen ddu,
Gan syllu 'n ddwys, mewn hiraeth clau,
Ar fryniau 'r Ganaan fry.

2 'R wy 'n tybio gwelaf eil-liw gwàn
O'i glànau bythol wyrdd;
Lle 'r hongia sypiau grawnwin pur
Ar goed anfarwol, fyrdd.

3 O Ardal hyfryd! lle ni ddaw
Na gofid byth, nac aeth:
Lle ffrydia perffaith wynfyd pur,
Fel llif o fel a llaeth.

4 Ac yno y mwynhêir heb nôs
Un anfachludol ddydd:
Heb haul na lloer, ond Duw ei hun,
Ei disglaer Haul a fydd,

5 Awelon peraidd, balmaidd, byw,
Sy 'n treiddio 'r ardal trwy:
Angeu a phechod, ing a phoen
O'i mewn ni themlir mwy.

## HYMN 204. M. N. 8. 7.

1 MAE rhyw dorf ddirif yn gwledda
'N awr ar aberth mawr y groes;
Oll â'u gynau wedi 'u cànu,
Oll yn lân, heb boen na loes:
'N ol bod yma yn y rhyfel,
Canu maent yn Salem lân,
Wedi trechu eu gelynion,
Seiniant byth fuddugol gân.

2 Tremio maent ar wedd y Person,
A hoffasant ar y llawr;
Ac yn rhoi gogoniant iddo,
Mewn gwell hwyl nag ar y llawr:
'N awr fe drodd eu ffydd yn olwg,
A'u holl obaith yn fwynhâd:
Ond eu cariad ni chwymp ymaith,
Pery byth yn Nghanaan wlad.

## HYMN 205. M. N. 6. 4. 7. 8.

1 I'M henaid mae yn well, gael awr mewn dis-
taw gell,
I foli 'r Iôr, na thrysor India bell:
I'm henaid mwy dymunol yw
Cael cymdeithasu gyd a'm Duw,
Na meddu golud cyfan, pur eirian aur Peryw.

2 Os cura poen a chri, yn ddwys fy enaid i,
O Arglwydd da, fy noddfa ydwyt Ti:
Cael cymmorth dy ddeheulaw glŷd,
A ddeil i'r lan fy mhen bob pryd:
Trwy ddyffryn y wylofain, O arwain fi o hyd.

3 O Arglwydd, tŷn fy mryd, oddiar bleserau 'r byd,
Dy gyfraith bur, fo nghysur i o hyd:
O dòn i dòn dwg fi heb dawl
I Salem gu, breswylfod gwawl,
Duw, dwg i blith Seraphiaid, fy enaid er dy fawl.

---

### ANGEU, BARN, A THRAGWYDDOLDEB.

## HYMN 206. M. B.

1 A I marw raid i mi,
A rhoi 'r corph hwn i lawr?
A raid i'm henaid ofnus ffoi
I dragwyddoldeb mawr?

2 Beth ddaw o honof fi
'N ol gadael daear lawr?
Tragwyddol wae, neu wynfyd byth,
A fydd fy rhan ryw awr.

3 O Dduw, dysg imi 'r ffordd
I ffoi rhag uffern dân;
A'r pryd ymddengys Iesu pur,
Dwg fi i'r nefoedd lân.

4 Tydi yw 'r unig ffordd
I'r nefoedd, Iesu gwiw;
Datguddia 'th hun i mi bob awr,
Tra byddwyf yma 'n byw.

HYMN 207. M. C. C.

1 FY Nuw galluog, rhwyga 'r llen,
A dal fy mhen yn angau:
Dod ffydd i bur olygu 'r lan
Rhag suddo tan y tònau.

2 Boed llewyrch dy wynebpryd di,
Fy Iôn, yn llenwi f' enaid:
Yn lle amheuaeth, hyder gre',
A chân yn lle ochenaid.

3 Pan ddel (mae 'r amser yn nesâu)
Fy einioes frau i fynu:
Bydd arnaf yn nyfnderau 'r glyn,
O Iesu gwyn, yn gwenu.

4 Gwna fi tra yn y byd y bwy'
Am farw 'n fwy myfyriol:
Gan fyw i'th glôd mewn einioes wiw,
A marw i fyw 'n dragwyddol.

HYMN 208. M. H.

1 ANFEIDROL Dduw y Nef a'r llawr,
O gwrando ni a'n gweddi 'n awr:
Gâd ini gael terfynu 'n taith,
Fel gweithwyr ffyddlon yn dy waith.

2 Moes ini brawf tu yma 'r bedd
O'th werthfawr hoff, felusaf hedd:
A doed o'n cylch d' oleuni cu,
O nefol Dad yn angau du.

3 Pan ddelom i ddiweddu 'n dydd,
Diweddu 'n ffordd, diweddu 'n ffydd;
I deyrnas nef, O derbyn ni,
Ar felus dôn i'th foli di.

HYMN 209. M. N. 8. 7.

1 O IACHAWDWR pechaduriaid,
Sydd â'r gallu yn dy law,
Rho oleuni, hwylia 'm henaid.
Tros y cefnfor garw draw;
Gâd i'r wawr fod o fy wyneb,
Rho fy enaid llesg yn rhydd;
Nes i'r haulwen ddisglaer godi,
Tywys fi wrth y seren ddydd.

2 A oes neb o'm holl gyfeillion,
Ddaw yn ddiddig gyda mi,
Ac a orwedd wrth fy ochr
Obry yn y ddaear ddu?
A yw cyfaill ddim ond hyny,
Tywallt dagrau, newid gwedd,
Pan fo 'r pridd a'r clai a'r cèrig,
Arna' i n cwympo yn y bedd.

3 O ynfydrwydd! O ffolineb!
Imi roi erioed fy mryd
Ar un tegan, ar un pleser,
Welais eto yn y byd:
Mae y byd yn myned heibio,
A'i deganau o bob rhyw;
Tan y nef ni thâl ei garu
Wrthddrych arall ond fy Nuw.

HYMN 210. M. N. 8. 7.

1 MAE 'nghyfeillion adre 'n myned
O fy mlaen o un i un;

Gan fy ngadael yn amddifad,
Fel pererin wrtho 'i hun.

2 Wedi bod yn hir gyd-deithio
Yn yr anial dyrys maith;
Gormod iddynt oedd fy ngado,
Bron ar derfyn eitha 'r daith.

3 Wedi diangc uwch gelynion,
Croesau, a gofidiau fyrdd;
Maent hwy 'n awr yn gwisgo 'r goron,
Ac yn cario 'r palmwydd gwyrdd.

4 Byddaf yn dych'mygu weithiau
Fry eu gwel'd yn Salem lân;
Ac y clywaf, ar rai prydiau
Adsain odlau pêr eu cân.

5 Ond mae 'r amser bron a dyfod
Y caf uno gyda hwy,
Yn un peraidd gôr diddarfod
Uwchlaw ofn ymadael mwy.

## HYMN 211. M. N. 8. 7.

1 AFON ddofn yw afon angau,
Ofni 'r wyf o hyd ei lli';
Rhaid yw rhodio trwy ei rhydiau
Cyn cyrhaeddwy 'r Ganaan fry.
Gallu 'r nefoedd fawr yn unig
Ddeil fy enaid llesg i'r lan;
Crist fu farw ar Galfaria
Ydyw nerth fy ysbryd gwan.

2 O bob enw yn mhlith dynion,
Dyma 'r enw goreu i gyd;
Crist yn groeshoeliedig drosof,
Crist yn marw dros y byd;

Gwaed yn llifo dros bechadur,
  Môr o haeddiant, môr o hedd;
Hwn yn unig, nid dim arall,
  Saif yn erbyn ofn y bedd.

3 Ofni 'r wyf, ac eto 'n canu,
  Wrth fyfyrio am y dydd;
Wedi 'r ing ac ymdrech angau,
  O'm cadwynau rhoir fi 'n rhydd;
Derfydd pechod y pryd hyny,
  Derfydd gofid o bob rhyw;
Buddugoliaeth gaf yn angau,
  Er fy marw, byddaf byw.

---

## HYMN 212. M. N.

### Y CRISTION YN MARW.

*(Pope's Ode.)*

1 BYWIOL fflam, wreichionen nef!
  Gâd y corph, ymâd ag ef:
Braw a gobaith, ing a hiraeth,
Poen ac elw yw marwolaeth;
Paid hoff natur, paid a'th gûr,
A gâd im' farw i fywyd pur.

2 Clyw! medd yr angylaidd lu,
Tyr'd chwaer-ysbryd esgyn fry:
Beth yw hyn sy 'n dwyn fy mryd,
Cau fy ngolwg ar y byd,
Boddi f' ysbryd, dwyn fy nghlyw?
F' enaid cu, ai angeu yw?

3 Mae 'r byd yn ffoi, mae 'n cilio draw;
Mae 'r nef yn agor ar bob llaw;
  Clyw adsain Seraiph llym:

Rhowch, rhowch eich llaw, âf uwch y llawr.
O Angeu! p'le mae 'th golyn 'n awr?
O Fedd! p'le mae dy rym?

### HYMN 213. M. N. 7. 6.

1 BYDD myrdd o ryfeddodau ar doriad boreu wawr,
Pan ddelo plant y tònau, yn iach o'r cystudd mawr;
Oll yn eu gynau gwynion, ac ar eu newydd wedd,
Yn debyg oll i'w Harglwydd yn d'odi'r làn o'r bedd.

2 Daw dydd o brysur bwyso ar grefydd cyn bo hir;
Ceir gwel'd pwy sydd â sylwedd, a phwy sydd heb y gwir;
O Dduw, rho im' adnabod ar f' ysbryd ôl dy law;
Can's dyna 'r unig ddelw arddelir ddydd a ddaw.

3 Am graig i adeiladu, fy enaid, chwilia 'n ddwys,
Y sylfaen fawr, safadwy, i roddi arni 'th bwys;
Bydd melus yn yr afon, gael craig a'm deil i'r lân,
Pan byddo pob ystormydd yn curo ar f' enaid gwan.

### HYMN 214. M. N. 148.

1 DEFFROWCH eneidiau 'n awr, mae 'r Prïod Fab yn d'od,
A lluoedd nefoedd fawr mewn mawredd mwya' erioed;
Mae 'r waedd a glywir oddi draw
Yn d'weyd fod Barnwr mawr gerllaw.

2 Ewch i'w gyfarfod, ewch â'ch llestri yn eich llaw;
Eich lampau parotôwch, cyn dyfod oriau braw:
Deffrôwch, deffrôwch rhag bod yn ol,
A marw 'mhlith morwynion ffol

3 Rhag cael o'r drws ei gau, a chwithau 'n curo 'n brudd,
Heb neb yn trugarhâu pan ddelo angeu ddydd;
O prynwch olew nefol râs
Cyn teimlo dyrnod angeu glâs.

## HYMN 215. M. N.

(*Emyn Luther.*)

1 DUW mawr! beth wyf fi 'n weled draw?
Diwedd a braw i'r holl-fyd;
Mi wela 'r Barnwr yn nesâu
Ar glaer gymylau tanllyd:
Yr udgorn mawr yn seinio sydd,
A'r beddau 'n rhoddi 'r meirw 'n rhydd,
I wae neu ddydd o wynfyd.

2 Dydd grâs yw 'n awr, da iawn i ni,
I ffoi rhag llid i ddyfod;
Mae eto le, trwy 'r Iesu hael,
I ni â Duw gael cymmod:
Awn ato Fe, cawn eto fyw;
Boed iddo glôd, dydd cymmod yw;
O brysiwn i'w gyfarfod.

---

## TRAGWYDDOLDEB.

## HYMN 216. M. N. 8. 7.

1 TRAGWYDDOLDEB! mawr yw 'th enw;
Mwy yw 'th sylwedd mawr yn wir!
Bydd dy wae, neu ynte 'th wynfyd
Imi 'n gyfran cyn bo hir:
Am gan miloedd o filiynau
Mae dy fynwes yn ymgau;
Beunydd, beunydd, bob munydyn,
I'th ehangder 'r wy 'n nesâu.

2 Tragwyddoldeb! mawr yw 'th enw,
Mawr yw 'th anfesurol daith!
Nid yw amser, byd a'i elw,
Ddim wrth dragwyddoldeb maith:
Mi ni fedraf dy amgyffred,
Ond fy nghysur rhag dy fraw
Ydyw 'r Iesu, Duw mewn dyndod—
Tragwyddoldeb sy 'n ei law!

---

DIWEDD A DECHREU BLWYDDYN.

HYMN 217. M. C. C.

1 DAETH eto ben y flwyddyn hon,
Mae arall bron a gwawrio;
Holl oesoedd byd o dro i dro,
O dô i dô ânt heibio.

2 Mae 'r byd ysbrydol ddydd a nôs
Yn agos agos atom;
Nid oes ond llen marwoldeb brau
A dyr yr angau, rhyngom.

3 Mi glywaf lais, O alwad gref,
Uwch, uwch mae 'r llef yn galw;
"Pwy â i'r bedd yn nesaf un?
"Ai fi fy hun fydd hwnw?"

4 O f' enaid, cais, cyn angau glâs,
Sancteiddiol râs i'th buro;
Cais wir adnabod Prynwr byd,
Mae bywyd bythol ynddo.

HYMN 218. M. N. 7. 6.

1 WRTH ddechreu blwyddyn newydd, dod grefydd yn ei grym,
A chalon bûr i'th garu, O Arglwydd dyro im',

I fyw yn fwy defnyddiol, O cynnal fi o hyd;
A chadw fi 'n dy ymyl, tra byddwyf yn y byd.

2 Am grefydd ymofynwn, a cheisiwn nes ei chael,
Gall hon ein dal a'n llòni, pan fo 'm ar wely 'n
wael; [glyn,
Deil hon mewn cyfyngderau, rhydd oleu yn y
A medi geir o'r ffrwythau byth fry ar Sïon fryn.

## HYMN 219. M. B.

1 DROS flwyddyn eto 'n awr,
Trwy nodded Un yn Dri;
Arbedol ym, a chododd gwawr
Un newydd arnom ni.

2 Er hir ddiffrwytho tir,
Y Pen-gwinllanydd mawr,
A bloedd cyfiawnder uwch ein pen
I dorri 'r pren i lawr;

3 Hyd yma llwyddo wnaeth
Ei ddwys eiriolaeth Ef,
Uwch gwaedd ein pechod o bob rhyw,
Er uched yw ei lef.

4 'R ym eto yn mwynhâu
Ei râd driniaethau hael;
Trwy rin y rhai'n, O dyger ni
I ffrwytho yn ddiffael.

5 A phan y delo 'r awr
I'n tòri i lawr o'n lle;
O byddom fel gwinwydden lawn
Yn addfed iawn i'r nef.

## CENHADOL.

### HYMN 220. M. N. 10au.

1 CENHADON hedd, mewn efengylaidd iaith,
Sy 'n galw i'r wledd, dros fôr yr India faith;
Paganiaid gânt, barbaraid dua 'u lliw,
Eu golchi 'n wyn, a'u dwyn i deulu Duw.

2 Doed natur oll, doed pawb o ddynol ryw,
I roddi 'r clôd yn llwyr i enw 'n Duw;
Pob llwyth ac iaith, a ddelo 'n ddinacâd
I'w foli 'n rhwydd am iachawdwriaeth râd.

### HYMN 221. M. N. 7au.

1 WELE 'r dydd yn gwawrio draw,
Amser hyfryd sy gerllaw;
Daw 'r cenhedloedd yn gytûn
I ddyrchafu Mab y dyn.

2 Gwelir teyrnas Iesu mawr
Yn ben moliant ar y llawr;
Gwelir tŷ ein Harglwydd cu
Goruwch y mynyddoedd fry.

3 Gwelir pobloedd lawer iawn,
Yn dylifo ato 'n llawn;
Cyfraith Iesu gadwant hwy,
Ac ni ddysgant ryfel mwy.

4 Fe geir gweled Babel fawr
Gwedi syrthio oll i lawr;
A'r teyrnasoedd mawr eu bri,
Oll yn eiddo 'n Harglwydd ni.

## HYMN 222. M. C.

1 O DDOED teyrnasoedd byd yn rhwydd
Yn eiddo 'n Harglwydd ni;
Trwy 'r ddaear caner heb nacâu,
Am angau Calfari.

2 Gwregysa 'th gleddyf ar dy glûn,
O gadarn Un yn awr;
Mewn llwyddiant marchog îs y rhôd,
Ti wyt i fod yn fawr.

3 Diflaned rhagrith, crefydd gau,
Pob bai a phechod câs:
A gwir dduwioldeb yn ei grym
A lanwo 'r ddaear lâs.

4 Mi welaf wawr yn codi draw,
Yn fuan daw y dydd;
Yn mhob rhyw le o'r ddaear lawr
Yr Iesu 'n fawr a fydd.

## HYMN 223. M. N. 8. 7.

1 ANFON beunydd weithwyr allan
I dy winllan, Arglwydd Iôn;
Miloedd sydd heb glywed eto
Am y Siloh air o sôn;
Boed i'th deyrnas ymehangu,
Dangos di dy allu mawr
I Iuddewon a Chenhedloedd
Drwy holl leoedd daear lawr.

2 Clod a fyddo 'n gyffredinol
I Waredwr dynol ryw;
Hollalluog rym ei allu
Sydd yn codi 'r marw 'n fyw:

Ni saif gelyn yn ei wyddfod,
Cwymp eilunod wrth ei lef;
Haleluia! y byd yn gryno
Ddaw yn eiddo iddo Ef.

HYMN 224. M. N. 8. 7. 4.

1 DUW teyrnasa ar y ddaear,
O'r gorllewin bell i'r de';
Cymmer feddiant o'r ardaloedd
Pellaf, t'wyllaf îs y ne';
Haul cyfiawnder, &c. llanw 'r ddaear fawr i gyd.

2 Taened gweinidogion bywyd
Iachawdwriaeth Iesu a'r led;
Cluded moroedd addewidion
Drosodd draw i'r rhai di-gred:
Aed Efengyl, &c. ar adenydd dwyfol wynt.

3 Doed preswylwyr yr anialwch,
Doed trigolion bro a bryn;
Doed y rhai sydd ar y cefnfôr
I ddyrchafu Mab y dyn;
Nes bo adsain, &c. moliant yn amgylchu 'r byd.

HYMN 225. M. H.

1 DILYNWYR Crist, deffrowch, deffrowch,
I anfon yr Efengyl, dowch;
Rhowch, rhowch o'ch da, a chodwch gri,
"O doed, O doed y Jubili."

2 Y fagddu fawr yn fuan ffy,
Mae 'r wawr ar dòri oddi fry:
Y duwiau mân, difethir hwy,
A neb ond Iesu 'n Arglwydd mwy.

3 Un nefol anthem, nefol lef,
Cyn hir a glywir dan y nef;
A holl deyrnasoedd daear lawr,
A ânt yn eiddo Iesu mawr.

4 Hyfrydol gân y Jubili
A seinir dros ein daear ni:
Pob lle, pob iaith, pob llwyth, pob lliw,
Yn cyd-dderchafu Iesu gwiw.
Henffych, henffych, foreu tirion
Pan bo 'r hollfyd o un galon
Yn moliannu Brenin Sïon
Haleluia—Amen.

HYMN 226. M. N. 7. 6.

1 O GREENLAND oer fynyddig, o draeth yr India fawr,
Lle treigla dyfroedd Affrig, ei thywod aur i lawr; [gwyrdd,
O lawer gwlad ddyfradwy, o lànau 'r palmydd
Erfyniant ein cynnorthwy, rhag coel-grefyddau fyrdd.

2 Er bod mewn pell ynysoedd, awelon pêr yn hael: [wael:
A hyfryd eu hardaloedd; ond dyn sydd etto 'n
Yn ofer gwelir yno fendithion Duw ar daen;
Y bobloedd yn eu dellni addolant bren a maen.

3 A allwn ni a oleuwyd, trwy râd y nefoedd fry,
Nacâu rhoi llusern bywyd, i'r sawl mewn t'wyllwch sy? [trwy 'r byd,
Cyhoedder iachawdwriaeth, cyhoedder hon
Nes dysgo 'r holl gre'digaeth, adnabod Iesu i gyd.

4 Chwyth, wynt, o chwyth y newydd a threigled
Ef, y dòn, [gron:
Nes fel rhyw fôr o glodydd, y llanwo 'r ddaear
Nes delo 'r Oen fu 'n gwaedu, dros feiau 'r byd
yn rhâd,
Mewn mawredd i deyrnasu, ar bob llwyth,
iaith, a gwlad.

---

O FLAEN AC AR OL PREGETH.

HYMN 227. M. N. 8. 7. 4.

1 ARGLWYDD grasol, Ti addewaist,
Man lle byddo dau neu dri
Wedi 'mgynnull yn dy enw
Mai i'w canol deuit Ti:
'N awr cyflawna, &c. dy addewid dda i ni.

2 Dyro gymmorth ini wrando,
A chyhoeddi 'n eglur iawn
Ddyfnder calon dyn truenus
Ac annhraethol ddwyfol Ddawn:
Dyro d' Ysbryd, &c. ennyn fywyd yn ein plith.

3 Dyro ini yma heddyw
Olwg newydd ar dy wedd;
Taen dy gariad yn ein calon,
Fel y caffom nefol wledd:
Nefoedd yma, &c. ydyw gwedd dy wyneb cu.

HYMN 228. M. N. 148.

1 AR { hauir / hauwyd } yma 'n awr, dy fendith [caniatâ
'D oes ond dy allu mawr, bâr iddo dyfiant da;
Cynhauaf ffrwythlawn, Arglwydd, dôd,
A Thi dy hun a gaiff y glôd.

2 Dôd fendith nefol wlith, i'n gwneyd fel gwenith gwyn; [chwyn:
A chadw byth o'n plith bob efrau chwerwon
Ti Arglwydd y Cynhauaf mawr,
Ar waith dy wâs dôd wên dy wawr.

3 Boed Haul Cyfiawnder cu yn t'wynu yma 'n awr;
I'r nef addfeded ni, cyn cael ein tòri i lawr:
Mae 'n dôd Gynhauaf mawr ar frŷs,
I gasglu 'r ŷd, a llosgi 'r us.

4 Planhigion grâs yn glau fo yn amlhâu o hyd;
A ffrwythau d' Ysbryd Di, yn llenwi maes y byd:
Cynhauaf ffrwythlawn, Arglwydd, dôd,
A Thi dy hun a gaiff y glod.

### HYMN 229. M. N. 8. 7. 4.

1 DAN dy fendith wrth ymadael,
Y dymunem, Arglwydd, fod;
Llòna 'n calon â dy gariad,
A'n gwefusau â dy glod;
Dy dangnefedd, &c. dyro ini yn barhâus.

2 Am efengyl grâs a'i breintiau
Rhoddwn ddïolch fyth i ti;
Caffer ffrwythau iachawdwriaeth
Yn llïosog arnom ni: [byw.
I'r gwirionedd, &c. gwna ni 'n ffyddlon tra b'om

3 Yna pan y delo 'r alwad
Ini adael byd ar ol;
Dwg ein henaid o'r helbulon
I gael gorphwys yn dy gôl:
Yna rhoddwn, &c. foliant bêr i'th enw byth.

GALWAD AR IEUENGCTYD.

HYMN 230. M. H.

1 O DOWCH, Ieuengctyd hoff yn awr
I arddel enw 'r Iesu mawr;
Mae Ef yn galw ar eich hôl
Bod Tragwyddoldeb maith yn ôl.

2 Nid yw difyrwch goreu 'r byd
Ond twyll a gwagedd oll i gyd;
Mor fyr yw mwyniant pechod ffôl
Wrth Dragwyddoldeb maith sy 'n ôl.

3 O pa lesâd, heb Dduw a'i hedd,
Fydd harddwch corph, neu degwch gwedd,
Pan delo 'r alwad ddwys i'ch nôl
I Dragwyddoldeb maith sy 'n ol?

4 Cyssegrwch heddyw flodau 'ch hoes
I'r Hwn fu farw ar y groes;
A chwi gewch orphwys yn ei gôl
Yn Nhragwyddoldeb maith sy 'n ol.

HYMN 231. M. N. 7. 6.

1 O COFIWCH eich Creawdwr, a'r mwyn
Waredwr mawr,
Y'mlodau 'ch einioes freuol, cyn delo 'r hwyrol
awr;
A'r dyddiau trist diweddaf, fel gauaf oer ei hin,
I wywo'ch holl lawenydd tan bwys o gystudd
blin.

2 O rhodiwch ffyrdd sancteiddrwydd, yn hylwydd
ewch y'mlaen
Yn llwybrau 'r doethion duwiol, tua Salem
nefol lân:

Cyssegrwch iddo 'n foreu eich dyddiau goreu i
gyd,
Cewch Ef yn rhan mewn henaint, a'ch rhan
mewn nefol fyd.

---

## DIOLCHGARWCH AM YMWARED RHAG GELYNION.

### HYMN 232. M. N. 8. 7.

1 CYDGLODFORWN Dduw y duwiau
Am ein breintiau yn ein bro;
Dylem oll yn ddïanwadal
Ddyfal gynnal hyn ar go':
Yn ein gwlad, yn lle lladdiadau
Sŵn yr arfau, tyrfau tân,
Mae Efengyl, bêr leferydd,
Uchel glodydd Iesu Glân.

2 Yn lle goddef poen a dychryn
Arfau 'r gelyn, dirfawr gâs,
Mae 'n hanneddau mewn llonyddwch
Drwy dirionwch Duw a'i râs:
Hedd oedd haeddol destun carol,
Llïaws nefol gynt yn un;
Mae 'n clodfori Iesu hawddgar
Nef a daear, Cerub, dyn.

3 Dyma 'r wyl, boed tyner galon
Gan y mawrion wyr a mân
Am ein heddwch a'n tawelwch
Dïolchgarwch fyddo 'r gân:
Clod, na wnaed ein cyrph yn ddrylliau
O flaen arfau dïal ne';
Rhwygiad calon edifeiriol
Fo 'n ddilynol gadw ei le.

4 Am warediad, mawr anrhydedd
I Dduw 'r mawredd fyddo mwy;
Bywyd ffyddlawn o ufudd-dod.
Nid am ddiwrnod, awr neu ddwy:
Dilyn llwybrau ein Gwaredydd;
Arfer beunydd farw i'r byd:
Edrych dros derfynau amser,
Lle mae bro yn haeddu 'n bryd.

---

## DYDD YMPRYD.

## HYMN 233. M. C. C.

1 O dyma 'r dydd, o foreu i hwyr,
Y dylem lwyr ymostwng;
I erfyn nawdd y nef trwy ffydd
Rhag dïaledd sydd yn deilwng.

2 Nid dydd i ddyn i grymu ei ben
Fel brwynen, heb wirionedd;
Ond dydd i wneyd trwy gyrau 'r tir
Weithredoedd gwir drugaredd.

3 Ystyriwn, gwelwn oll i gyd
Y baich o ynfyd bechod;
Y drwg o fyw i Dduw yn groes,
A phwy a roes y dyrnod.

4 Os pechod sy 'n dibobli 'r byd,
Mae 'n gyflawn bryd bwriadu,
Ei lwyr gasâu, rhag bod yn ol
O lŷs tragwyddol Iesu.

5 Dyledswydd ydyw braidd bob cam
Weddïo am faddeuant;
Ymbilied pob rhyw enaid trist
Am heddwch Crist a'i haeddiant.

## CYNHAUAF ADREF.

### HYMN 234. M. H. D.

1 AR faes ein daear isel dir,
Gwasgarwyd deu-ryw hâd yn wir;
Lle 'r hauwyd gwenith Crist yn gu
Y taenwyd efrau 'r gelyn du:
Y ddau a dyfant yma ynghyd,
Nes delo barn ar deulu 'r byd;
Angylion, gwynion feibion gwawr
I alw i mewn Gynhauaf mawr.

2 Mae 'n bryd ystyried, gan dristâu,
Am gyflwr enaid i barhâu,
Rhag bod yn un o'r cherwon chwyn
Sy 'n tyfu 'mhlith y gwenith gwyn:
Diflàna pob rhyw gysgod gau,
Mae byd o sylwedd yn nesâu;
Cyn hir daw meibion, &c.

3 'Rhai gawsant hawl drwy gyfiawnhâd,
Meddianant deyrnas bur eu Tad;
Disgleiriant fel yr haulwen sy
Yn treiglo trwy 'r ardaloedd fry:
Ystyried dyn, sy briddyn brau,
Fod oriau sobr yn nesâu;
Cyn hir daw meibion, &c.

### HYMN 235. M. C. C.

1 GAN ini dderbyn gan Dduw Naf
Gynhauaf da rhag newyn,
Mae dyled arnom roi bob pryd,
Fawl iddo o hyd y flwyddyn.

2 Gallasai 'n celloedd, am ein drwg,
Fod tan ei ŵg yn weigion;
A newyn tost 'mhob rhan o'n tir
I'n cospi 'n gywir gyfion.

3 Ond clod a mawl fo byth i Dduw,
Ni chawsom heddyw 'n haeddiant;
Tosturio wnaeth ein Harglwydd glân,
Rhown iddo ar gân ogoniant.

4 O am i ninnau îs y nef,
Fyw iddo Ef yn ufudd,
Yn y mwynhâd o'i roddion da,
A'i foli 'n bènaf beunydd

---

GWEDDI AM WLAW.

HYMN 236. M. N. 8. 7.

1 O'R tragwyddol Dduw trugarog,
A galluog, gwrando 'n llef,
Am drugaredd dra rhagorol,
A dymunol in' o'r nef:
Ymbil 'r ydym am gawodydd,
Ro'nt lawenydd i'r holl wlad;
Gwlawia, gwlawia fendith glaiar
Ar ein daear, dirion Dad.

2 Ein pechodau dychrynedig
Drônt yr wybren megys prês:
Daear deg, fel haiarn dulas,
Aeth yn grâs gan nerth y gwrês;
O tosturia, Arglwydd tirion,
Wrth drigolion trist ein gwlad;
Pâr in' achos llawenychu
Trwy gyfranu 'r fendith râd.

3 Ond yn bènaf gwlawia beunydd
Arnom ni gawodydd grâs;
Rhy gyffelyb yw 'n calonau
I'r caregog fryniau crâs:

Ac os metha ffrwythau 'r meusydd,
Fel blin gerydd ar ein gwlad,
Moes i'n henaid ymborth bywiol,
Nefol iachawdwriaeth rhad.

---

GWEDDI AM DYWYDD TEG.

HYMN 237. M. H.

1 O ARGLWYDD Dduw y nef a'r llawr,
O gwrando di ein gweddi 'n awr;
Am addas, hoff, dymherus hin,
Yn lle gwlybaniaeth llaith a blin.

2 Dy gadarn fraich a arwain fry
Yr haulwen deg, a'r cwmwl du;
Mae gwynt ac oerfel, gwrês a gwlaw,
Oll dan dy lân alluog law.

3 Gorchymyn di, O nefol Dad,
I'r haul ddisgleirio ar ein gwlad;
A phâr i'r lòn ffurfafen glir,
I wenu eto ar ein tir.

4 Ond os parhâ 'r gwlybaniaeth trist,
Dysg ini lawenhâu yn Nghrist:
Disgleirdeb dy wynebpryd di
Rydd gysur mawr yn awr i ni.

---

BOREU.

HYMN 238. M. H.

1 OH f'enaid deffro, cân yn awr,
Fel 'r adar achub flaen y wawr;
Os mawl sy 'n gweddu iddynt hwy,
Mae mawl i mi mil miloedd mwy.

2 Fy nyled fawr, feunyddiol yw
Talu ufuddaf glod i'm Duw ;
Am drugareddau rhâd di-ri',
Gweddi a mawl sy 'n gweddu i mi.

3 Fy mhrynwr yw, mae 'n haeddu cael,
Y blaenffrwyth o'm gwasanaeth gwael:
Am dywallt drosof waed yn lli,
Gweddi a mawl sy 'n gweddu i mi.

4 Beth, os yw poen a chroesau 'r byd,
Fel tòn ar dòn yn curo o hyd:
Er maint fy nghroes, fy mhoen a 'nghri,
Gweddi a mawl sy 'n gweddu i mi.

---

## PRYDNAWN.

### HYMN 239. M. H.

1 RHOF fawl di-brudd bob dydd i'm Duw
Am ei fendithion o bob rhyw;
Fy nghadarn Iôr, O cadw fi
Dan gysgod dy adenydd di.

2 Er mwyn dy anwyl Fab dy hun,
O maddeu 'meiau mawr bob un ;
Fel cyn yr hunwyf b'wyf o hyd
Mewn hedd â Thi, fy hun, a'r byd.

3 Dysg imi fyw a myn'd mewn hedd,
Fel 'r wyf i'm gwely, felly i'm bedd:
Dysg imi farw yn ddi fraw,
Fel na b'wyf brudd ryw ddydd a ddaw.

4 Gwna imi orphwys heno o hyd
Yn dawel dan dy aden glyd ;
A d'od yn wiw ar doriad wawr
I foli 'n fwy fy Arglwydd mawr.

HYMN 240. M. N. 8. 7.

DADL Y NEF.

1 AR un pryd, pan ymgynnullai
'R Côr nefolaidd yn ei faint,
Pur eiddigedd glân a'u taniai,
Ac enynai zêl y saint:
Cyd ystyrient pwy oedd fwyaf
Yn rhwymedig i râd râs,
Am ei ddwyn i gaerau gwynfyd
O waelodion daear lâs.

2 Y Babanod, fil o filoedd,
Godent i'r ddadleufa hon,
Y rhai gawsent borth y nefoedd,
Yn y bru, neu 'n sugno bron:
Tybient hwy mai hwy yn unig
O'r holl brynedigol hâd,
Oedd dan rwymau mwy arbenig
I glodfori cariad rhâd.

3 Cawsent hwy y pasgedigion
Heb archwaethu 'r ddeilen sur;
Cawsent wisgo 'r nefol goron
Heb y groes, na hir-oes gur;
Cawsent Ganaan heb anialwch,
Cawsent nefoedd heb y byd;
Fel y tybient 'n ol pob tegwch
Mai eiddo hwy y gân i gyd.

AIL RAN.

4 Dosparth arall o'r côr sanctaidd
A ddechreuai honni hawl
I'r telynau mwyaf peraidd,
Llawnaf o nefolaidd fawl:
Hen droseddwyr *pedwar ugain,*
Oedd y rhai'n a ddaethai 'n rhydd
Tua 'r winllan mewn hwyr adeg,
'R unfed awr ar ddeg o ddydd.

5 Hwythau yn yr Anthem ddwyfol
Fŷnent flaenu llu y llawr,
Moli Duw am ei drugaredd,
Am ei hir amynedd mawr:
Tybient y dylasent ganmol,
Mwy na neb o ddynol ryw,
Ar drugaredd dra rhagorol,
Cariad eu maddeuol Dduw.

6 Ar hyn codai *Saul o Tarsus*,
Hen erlidiwr wnaed yn sant;
Mŷnai 'r delyn fwyaf hwylus,
Mŷnai daro 'r mwyna' dant:
Ond y *Lleidr* oddiar Galfaria
Lefai drwy holl Wynfa lân,
" Arnaf fi mae 'r ddyled fwya',
Mŷnaf fod yn ucha' nghân.

7 Sain y Lleidr a sŷnai nefoedd!!
Yna tröai 'r saint i gyd
I edrych ar yr Hwn a'u prynodd—
Cu Arbedwr mawr y byd;
Yntau wenai ar eu cariad,
Boddlon oedd i'w mawl a'u moes,
Nes cynhyrfai ei edrychiad
Bawb i ganu am waed y groes.

8 Unai 'r nefoedd mewn munudyn,
Pawb â'i delyn, pawb â'i dant;
Crist yn unig waeddai 'r fintai,
Iddo seiniai pob rhyw sant:
Iddo Ef mae 'r mawl yn gyfiawn,
Drwyddo 'n gyflawn hedd a gaed;
" Iddo Ef yr Hwn a'n carodd,
" Ac a'n golchodd yn ei waed."

## MAWLODLAU.

*(Doxologies.)*

M. H.

1 GAN bawb sydd îs y nen yn byw
Datganer mawl, gwir haeddawl yw,
I Awdwr a Phryniawdwr byd,
Pob iaith a gwlad, pob llwyth ynghyd.

2 Gorlenwer byd â mawl yr Iôr,
Fel dyfroedd maith yn toi y môr;
A rhoed pob genau fawl ar gân,
I'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân.

M. N. 148.

GOGONIANT fo i'r Tad, Mab rhad, ac Ysbryd Glân,
Tri Pherson yn Un Bod, yn Hanfod diwahân;
Fel 'r oedd yn Ben cyn llunio 'r byd,
Y bydd o hyd, Amen, Amen.

M. N. 8. 7. 4.

BOED i'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd,
Un Duw hyfryd, diwahân,
Mewn gorfoledd bob gwir foliant,
A gogoniant byth a'r gân:
Haleluia, &c. unwn glod i'w enw glân.

M. N. 8. 8. 8.

I'R Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân,
Yn un Duw hyfryd diwahân,
Ar uchel gân dyrchafwn glôd:
Fel 'r oedd yn Dduw cyn llunio 'r dydd,
Yn un uwch sêr yr awrhon sydd,
Ac felly bydd Ef byth yn bôd.

M. B. C.

GOGONIANT fo i'r Tad,
Mab rhâd, ac Ysbryd sanctaidd;
I'r Un yn Dri, a'r Tri yn Un
Y perthyn mawl yn buraidd.

M. B.

GOGONIANT fo i'r Tad,
Mab rhâd, ac Ysbryd Glân;
Fel 'r oedd, y mae, bydd felly 'n bôd,
Yn Hanfod diwahân.

M. N. 10au.

O RHODDWN glod i'r Bod a wnaeth y byd,
I'r Tad, a'r Mab, ar Ysbryd Glân o hyd:
Na fydded neb yn ol o ganmol Duw;
Mae 'n haeddu mawl didawl gan bob dyn byw.

DIWEDD.

